# Allwydd neu Agoriad PARADWYS i'r CYMRV

Hynny yw:

Gweddiau, Devotionau, Cynghorion, ac Athrawiaethau tra duwiol ac angenrheidiol i bôb Chriſtion yn mynnu agoryd y Porth a myned i mewn i'r Neſ.

Wedi eu cynnull o amryw lyfrau duwiol, a'i cyſeithu yn Gymraeg: neu wedi eu cyfanſoddi, gan *I. H.*




Yn LVYCK.

Imprintiwyd yn y Flwyddyn M DC LXX.



# At fy anwyl Frodyr a'm Chwiorydd a'm Ceraint eraill ffyddlon yn-Gwent a Brecheinoc.

B*Ydded gwiw gennych chwi, dderbyn yn howddgar yr Anrheg yma o Allwydd fechan, yr hon er nad yw hi ond o ychydic faint a gwael ddiallan: etto mae hi yn rhagoral iawn ac yn brisfawr. Oblegid os arferwch chwi hon yn dda, fe y fydd hawdd i chwi, trwy gydweithiad Gras Duw, agoryd y* PARADWYS *Nefol, ac felly meddiannu y Tryssor, y Diddanwch, a'r Gogoniant a bery byth. Mae llawer o flynyddoedd ynawr, er pan y clywais fagad o honoch chwi yn dymuno yn fawr cael y cyfryw Ddevoci-[..] yn eich iaith eich ur. Ac hyd yn [..]ni a ddisgwyliais gan eraill eu [g]osod hwynt allan: ond yrwan oble-*

 *gid*

*gid fy mod yn gweled pawb yn esgeu-
luso'r gwaith er lleied fyngwybodaeth,
nis gallwn amgen, na dangos fy ew-
yllys da o'ch bodloni chwi yn y modd
goreu y medrwn. Mi a gesglais y
Devotionau hyn, nid yn unic o'r All-
wydd Paradwys Seisnic, ond hefyd o
amryw lyfrau da eraill, megis yr oedd-
wn yn coelio y byddai angenrheitiaf a
buddiolaf i chwi: ac a gyfieithais y
cwbl mewn geiriau ac adroddion plaen,
syml, hawdd i'w ddyall: fel nad
oes i neb ddisgwyl cael ymma na Gwen-
niaith Gwynedd, nac Adroddion per-
areithus, na Brythoneg anianol: ob-
legid nid fy mryd i yw dysgu yr iaith
yr hen nis medraf fy hun yn iawn: ond
fy amcan yn unic yw ennynnu o'r De-
votionau hyn Dduwioldeb yn eich ca-
lonnau chwi. Ac am hynny cyn nesset
ac yr oedd Cymraeg gywir yn caniadu
mi ddodais ymmhob man y geiriau cyn-
nesinaf a mwyaf arferedic: ac ysgat-
fydd weithiau (er mwyn gwneuthur y
ymadrodd yn rhwyddach, ac yn hawdd
chwi i'w ddyall,) fe a ddiengodd odd-*

wr

wrth fy mhin i beth llediaith, ac adrodd anaddas, lle y gallaswn arfer geiriau priodol a Chymraeg gywir. Ond nid oes ymma fawr achos o gwyno i bobl Wynedd, gan nad oes nemmor air yn yr holl draethawd hwn, yn ddieithr iddynt hwy. Wrth gyfieithu geiriau'r Scrythur Lan, mi a ddilynais (nessaf fyth y medrwn) y Copi Lladin Vulgatæ Editionis; ac os methais ddim yn hynny, bid yspys i chwi, na wneuthum hynny o'm bodd, ond o'm llwyr anfodd, yn anwybodol ac yn erbyn fy ewyllys. Am hynny yr wyf yn dymuno ar y ffyddlon dyscedic wella y cyfryw feiau: gan ddarostwng y cwbl oll i ewyllys a barnedigaeth yr Eglwys Lan a'm Pennaethion i emendio, newid, neu ddiddymmu rhan ohono neu'r cwbl, megis y bo mwy ar eich lles chwi, a gogoniant i Dduw. Ond os gwelir yn dda chwi wneuthur dim ymarfer o hono, yr wyf fi yn deisyf arnoch yn ostyngeiddlon ymbell weithiau weddio ar Dduw drugaredd i enaid

*Eich Brawd a'ch Car ffyddlon*

L. H.

Yr Heretic neu'r Sectarian, am yr hwn y mae S. *Augustin* yn son yn ei adroddion isod, ac am yr hwn y mae Duw trwy enau S. *Pawl* 5 Gal. 20. (gan gyfrif Heresiau ymmysc y pechodau marwol gorth ymmaf oll) yn dywedyd, *na chaiff ef byth feddiannu neu etifeddu Teyrnas Dduw*, ac yn ganlynol y caiff ef fod mewn caethiwed gyda'r Diawl a'i angelion mewn poenau tragywyddol, yw'r neb y fo'n gyndyn yn gwrthod credu rhyw vn o'r Gwirioneddau (pa vn bynnac y fo ai mawr ai bychan) y mae Duw yn eu dyscu i ni trwy ei Eglwys Lan Gatholic, yr hon sydd ac y fu bob amser wedi ei lledu ymhob man tros wyneb y Byd, a'r hon sydd ac y fu bob amser yn Weledic i bawb. A'r Schismatic yw'r neb, er ei fod yn credu pob peth yn iawn, etto y fo'n gwrthod proffessu hynny: megis yn gwrthod gweddio, ymprydio, derbyn y Sacramentau, &c. fel y mae Duw trwy ei Eglwys Lan Gatholic yn gorchymmyn.

## *Tri o adreddion* S. Augustin *gwiw iawn a llawn angenrheidiol i'w cofio, a gymmerwyd allan o'i Lyfr cyntaf ef,* De Fide ad Pet.

1. CRed yn llawn ddiogel, a hynny heb ddim ammeu, y caiff pob vn, nid yn vnic o'r Paganiaid, ond hefyd o'r Juddewon, o'r Hereticciaid ac o'r Schismaticciaid, sydd yn meirw allan o'r Eglwys Gatholic, fyned i'r Tan tragywyddol a ddarparwyd i'r Diawl ac i'w Angelion ef.

2. Cred yn llawn ddiogel, a hynny heb ddim ammeu, na chaiff vn Heretic, na Schismatic, er iddo gael ei fedyddio yn enw'r Tad a'r Mab a'r Yspryd Glan, oni bydd ef wedi ei vno neu'i gysylltu (trwy ffydd a chariad perffaith) a'r Eglwys Gatholic, ac er maint bynnac a roddo ef yn Elusen, ie er iddo ddioddef marwolaeth er mwyn enw Christ, byth fod yn gadwedic. Oblegid nas

 gall

gall na Bedydd, na'r Elusensi helaethaf, na dioddef marwolaeth er mwyn Christ, wneuthur dim lles, neu fod yn broffittiol i iachawriaeth, tra fo dyn yn aros mewn melltigedic anwiredd Heresi neu Schism, sy'n arwain dynion i ddamnedigaeth.

3. Cred yn llawn ddiogel, a hynny heb ddim ammeu, na chaiff pawb ac a fedyddiwyd a thithiau neu a çeremoniau yr Eglwys Gatholic, fyned i'r Bywyd tragywyddol, ond yn vnic y dynion hynny, y rhai wedi eu bedyddio y fuont fyw yn gyfion, hynny yw, trwy ymwrthod a phechodau ac a chwantau y cnawd. Oblegid megis na chaiff Hereticciaid anffyddlon fyned i deyrnas y Nefoedd, felly byth ni chaiff Catholigion drygionus ei meddiannu hi.

*Dymma eiriau* S. Augustin, *Gol:uni mawr hwnnw Eglwys Dduw* (*y oedd yn byw yn y flwyddyn* 420 *arol genedigaeth Christ, hynny yw, ers mwy ynawr na* 1250 *mlynedd*) *attolyygaf ar Dduw eu printio a'i cyngwasgu hwynt yn dy galon di : a gweithio ohonynt yna y peth, yr hwn yr wyf fi* (*gyda'th weddiau di*) *yn ei ddymuno yn daer.*

MAe yn y Calendr ymma yn canlyn, heb law y Gwyliau a'r Seinctiau oll o'r Calendr Rhufeinaidd, mewn Print neiltuol amryw Sainct eraill tra hynod bucheddau y rhai sydd hyles iawn i'w darllain a'i gwybod: (ac os rhydd Duw amser mae yn y mryd i trwy ei gymmorth ef, eu dangos hwynt i'r Byd yn Gymraeg er lles fyn-Gwlad) gydag ymbell rai o Seinctiau Cymry. y rhai y adnabyddir wrth Seren fel hyn* o'i blaen. Heb law hynny, mae'r holl Wyliau Gorchymmynedic ansymmudol wedi eu printio igyd a llythyrenneu Pennodol cochion. Yn ddiweddaf, mae'r lythyren P. yn arwyddoccau Pap, E. Escop Ab. Abad, Off. Offeiriad, M. Merthyr, C. Conffessor, V. Gwyryf, M.M. Merthyri, C.C. Conffessoriaid, &c. A'r nod hwn (i) sy'n arwyddo hynny yw.

1 DY'CALAN, scs. Enwaediad E. H. Ie. Ch.
2 S. Isodor E. & M. (*S. Tafrenaw ... Dosfryng
3 S. Genovefa V. *S. Theodoricws Tewdric fre-
4 S. Titws, Priscws, &c. M. M. (nin.
5 S. Telesphor P. & M. S. Edward f'.
6 DY'GWYL YSTWYLL (i.) di s stelle a
7 S. Cea E. (Gallico Esto l.
8 S. Lawrens Justinian E.
9 S. Julian & S. Bisilissa.
10 S. Nicanor M.
11 S. Higin P. & M.
12 S. Bened Abad.
13 *S. Kentigern Cyndeirn E.
14 S. Hilar E. & Ffelix Off.
15 S. Pawl y Meudwy cyntaf. & S. Mawr Ab.
16 S. Marçel P. & M.
17 S. Antwn Abad.
18 Cadair S. Petr yn Rhufain.
19 S. Mariws Martha &c. M. M. S. Wolstan E.
20 S. Ffabian & S. Sebastian M. M.
21 S. Agnes V. & M.
22 S. Uinçent & S. Anastasiws M. M. (*S. Elli.
23 S. Em V. & M. S. Joan Elecmos. E.
24 S. Timoth E. & M. *S. Cadocws Cattwc E. M.
25 Convers. S. Pawl Apost. *S. Dwynwen V.
26 S. Polycarp E. & M.
27 S. Joan Chrysostom E.
28 S. Agnes eilwaith.
29 S. Françis Sales E.
30 S. Martina V. & M.
31 S. Petr o Nolasco C.

Mae ym mis Chwefror xxviij o ddyddiau

| | | |
|---|---|---|
| d | 1 | S Ignatiw E & M. S *Brigid* V. Ymp |
| e | 2 | PVREDIGAETH Mair fendigedic |
| f | 3 | S Blasiws E & M. S *wercbwrg V.* |
| g | 4 | S *Gilbert C.* * S *Dilwar.* |
| A | 5 | S *A*gatha V & *M.* |
| b | 6 | S Dorothea V & *M.* |
| c | 7 | S Romwald Conf. |
| d | 8 | S *Elffled V.* ( * S *Einion* |
| e | 9 | S *A*polonia V & M. * *S Tiliauus Teil* |
| f | 10 | S *Scholastica* V. *S William* Meudwy. |
| g | 11 | S *William* E. |
| A | 12 | S *Miletiws* E. |
| b | 13 | S *Stephan* Abad. |
| c | 14 | S Valentin *M.* |
| d | 15 | S Ffawstin, a Jovita *M.M.* |
| e | 16 | S *Jwliana V* & *M.* |
| f | 17 | S *Finan* E. |
| g | 18 | S Simeon E & *M.* |
| A | 19 | S *Acca* E. |
| b | 20 | S *Mildred V.* |
| c | 21 | S *Cymbert C.* |
| d | 22 | Cadair S Petr yn *A*ntioch. |
| e | 23 | S *Milbwrg V.* Ymp |
| f | 24 | S MATTHIAS *A*postol. |
| g | 25 | S *Ffwrsews Ab.* |
| A | 26 | S *Victor Conf.* * S *Tafaelog* |
| b | 27 | S *Leander* E. * S *Elfiws* E. |
| c | 28 | S *Oswald* E. * S *Elibio* E. |

Yn y flwyddyn naid, sef y bissex s 29. o ddyddiau i Chwefror.

S *David E.*
*Chad E.*
S *Marinus M.*
s Casimirws C. s Lwciws P. & *M.*
*Phocas M.*
S *Coletta V.* (S Ffelcitas M.M.
S Thomas o *Aq*uin C. S Perpetwa, &
S *Ffelix E.* * S *Deifer Dier.*
S Ffrancesca Romana
o Y Deugain Merthyri
1 S *Oswiu Fr.*
2 S Gregor y Mawr P. & Doct.
3 S *Isodor o Fadrid C. (bu ddoe)*
4 S *Matildis Frenh.* * S *Canacws Cynoc*
5 S *Longinws M.*
6 S *Hribert E.* S *Colwmba V.*
7 * S Patric E. S *Gertrud V.*
8 S *Edward Fr.* & *M.*
9 S JOSEPH Tadmaeth ein Hargl. Jesu
o S Joachim Tad *Mair* fen.
1 S Bened *Abad*
2 S *Pawl E.* S *Catrin V.*
3 S *Egbert Fr.*
4 S *Lanffranc E.*
5 S ANNUNTIATIWN *Mair* fen.
S *Aswold E.*
7 S *Rwpert E.*
8 S *Ffremwnd Fr.*
9 * *Gwidelews Fr.*
o *Joan Climac. Abad*
1 s *Balbina V.*

# Mae yn Ebrill xxx o ddyddiau.

| | | | |
|---|---|---|---|
| g | 1 | s Huw E. Grenobl | |
| A | 2 | s Ffrançis o Pawla C. | s Mari o'r Aipht |
| b | 3 | s Richard E. | |
| c | 4 | s Gwier C. | * s Tyrnoc |
| d | 5 | s Vincent Fferrer C. | * s Derfel Gadarn |
| e | 6 | s Elstan E. | * s Bernacws Abad |
| f | 7 | s Epiphaniws M. | * s Llywelyn |
| g | 8 | S Dwsianws C. | |
| A | 9 | s Huw E. Rhoan | |
| b | 10 | s Gwthlac C. | |
| c | 11 | S Leo P. | |
| d | 12 | s Mechtild V. | |
| e | 13 | s Hermenegild M. | |
| f | 14 | s Tiburtiws &c. MM. | s Lidwina V. |
| g | 15 | * s Paterniws E. | |
| A | 16 | s Stephan Abad | |
| b | 17 | s Aniccetws P. & M. | |
| c | 18 | s Oswin C. | s Maidwlf C. |
| d | 19 | s Elpheg E. & M. | |
| e | 20 | s Agnes de Monte Policiano V. | |
| f | 21 | * s Beuno Abad | |
| g | 22 | S Soter & Caiws PP. & MM. | * S Dyfnan |
| A | 23 | S Georg M. | |
| b | 24 | S Melitws | |
| c | 25 | s Marc Evangelwr | |
| d | 26 | s Cletws & Marcellin PP. MM. | |
| e | 27 | s Anthimws E. & M. | |
| f | 28 | s Vitalis M. | |
| g | 29 | s Petr M. s Hww Abad | * s Sannan. |
| A | 30 | s Caterin o Siena V. | |

## Mae ym Mai xxxj o ddyddiau

| | | |
|---|---|---|
| b | 1 | S PHIL. & JACOB *Ap.* * s *Asaph E.* |
| c | 2 | S *A*thanasiws E. (*Ab.* |
| d | 3 | INVENTION y Groes sanct. s *Walter* |
| e | 4 | S *Monica.* s *Melangel Moncella V.* |
| f | 5 | s *Silvanws M.* (*mascen E.* |
| g | 6 | S Joan o flaen Porta Latina. S *Ioan Da-* |
| A | 7 | S Stanislaws *E.* & *M.* |
| b | 8 | Apparition s *Michael* Archangel |
| c | 9 | S Gregori Nazianzen E. |
| d | 10 | *S* Gordian & *Epimach* MM. |
| e | 11 | *S Mamert E.* |
| f | 12 | S Nerews, Achilews, & Domitilla *MM.* |
| g | 13 | S *Gliceria M.* * s *Mahael, & Sulian.* |
| A | 14 | *S* Bonifaciws *M.* s *Edith V.* |
| b | 15 | *S Ioan Silentiariws.* * s *Carantocws Cranoc* |
| c | 16 | *S* Vbald E. s *Simon Stock C.* |
| d | 17 | S *Sewal E.* |
| e | 18 | S *Clawdia V. M.* ( s *Dwnstan E.* |
| f | 19 | S Celestin P. & C. Pwdentiana V. |
| g | 20 | S Bernardin C. s *Ethelbert Fr.* |
| A | 21 | S *Ifo* C. * s *Constantin Emrodr* |
| b | 22 | S *Ffwlco C.* |
| c | 23 | s *Desideriws E. & M.* |
| d | 24 | s *Ffwgatiws, & Damian E. E.* |
| e | 25 | s Urban P. & *M.* (s *Awstin* E. |
| f | 26 | s Philip Neriws *C.* s Elwtheriws P. & *M.* |
| g | 27 | s Ioan P. & M. s *Beda* Off. |
| A | 28 | s *German E.* * s *Theocws* C. |
| b | 29 | * s *Dwbritiws E.* |
| c | 30 | s Ffelix P. & M. |
| d | 31 | s Petronilla *V.* |

Mae ym Mehefin xxx o ddyddiau.

| | | |
|---|---|---|
| e | 1 | s *Fforťwnatws C.* |
| f | 2 | s Marçelin, Petr & Erasm *MM.* |
| g | 3 | s *Oliva V.* * s *Gwyfen* |
| A | 4 | * s *Petroc Abad* |
| b | 5 | s *Boniffas E & M.* |
| c | 6 | s Norbert E. |
| d | 7 | s *Rhobert Abad* |
| e | 8 | s *William* E. |
| f | 9 | s Primws, & Ffeliçian *MM.* |
| g | 10 | s *Magaret Frenh.* |
| A | 11 | s Barnab *Apost.* |
| b | 12 | s Basilides &c. *MM.* s *Onwphri Wmphre C.* |
| c | 13 | s Antwn de Padwa |
| d | 14 | s Basil y Mawr E. & Doct. |
| e | 15 | s Vitws, Modestws, &c. *MM.* * s *Trillo* |
| f | 16 | s *Quiric a Julitta (i) Curic ac Elidan MM.* |
| g | 17 | s *Botwlph Abad* * s *Molling* |
| A | 18 | s *Marc*, & Marçelin *MM.* |
| b | 19 | s Gervas & Protas *MM.* s *Michelina* |
| c | 20 | s silveriws *P.* & *M.* |
| d | 21 | s *Alban M.* |
| e | 22 | * *Decol.* s *Gwenfrewi V.* s Pawlin E. |
| f | 23 | s *Awdri.* s *Mari de Ognies* Ympryd |
| g | 24 | GENEDIGAETH S JOAN Fedyddiwr |
| A | 25 | s *Amphibal E, & M.* s *Jwan C.* |
| b | 26 | s Joan & s Pawl *MM.* |
| c | 27 | s *Crescens M.* |
| d | 28 | s Leo *P.* Ympryd |
| e | 29 | S PETR & S PAWL *Apost.* |
| f | 30 | Coffa s Pawl. s *Lwcina M.* |

# Mae yn Gorphenhaf xxxj o ddyddiau.

| | | |
|---|---|---|
| g | 1 | * s *Iuliws* & s *Aaron* *MM.* |
| A | 2 | Gofwy Mair fen. * s *Owdoccws E.* |
| b | 3 | s *Anselm E.* |
| c | 4 | s Elizabeth Frenh. Portugal. * s *Peblic* |
| d | 5 | s *Marinws M.* s *Modwen V.* |
| e | 6 | s *Sexbwrg Frenh.* |
| f | 7 | s *Clawdiws.* s *Peregrinus MM.* |
| g | 8 | s *Aquila* & s *Priscilla* |
| A | 9 | s *Edilbwrg Frenh.* |
| b | 10 | Y 7 Brodyr, & s Ruffina & Secwnda MM. |
| c | 11 | s Piws P. & M. |
| d | 12 | s Nabor & Felix *MM.* s Ioan Gwalbert *A.* |
| e | 13 | s Anaclet P & M * s *Dogwan* |
| f | 14 | s Bonaventwra E & Doct. s Henri Emr. |
| g | 15 | s *Swithyn E.* |
| A | 16 | s *Osmwnd E.* |
| b | 17 | s *Alexiws* C. * s *Gynllo* |
| c | 18 | s Symphorosa a'i saith meibion *MM.* |
| d | 19 | s *Epaphras*, s *Aurea MM.* |
| e | 20 | s Margaret V. & *M.* |
| f | 21 | s Praxedes V. |
| g | 22 | s Mari Magdalen |
| A | 23 | s *Apollinaris* E & M. |
| b | 24 | s Christina V & M. Ymprvd |
| c | 25 | S JACOB Apost. s Christoffer *M.* |
| d | 26 | S ANN *Mam* Fair fen. |
| e | 27 | s Pantaleon *M.* (nocent P. & C. |
| f | 28 | s Nazar, Celsws, Victor, *MM.* s In- |
| g | 29 | s *Martha* V. |
| A | 30 | s *Abdon* & s Sennen *MM.* |
| b | 31 | s Ignatiws C. |

| | | |
|---|---|---|
| c | 1 | S Petr ad Vincwla (i) wrth y Cadwynau |
| d | 2 | S Stephan *P* & *M.* (* s *Kined* |
| e | 3 | Inventiwn sef Caffael, s Stephan ferthyr |
| f | 4 | S Dominic C. (cyntaf |
| g | 5 | S *Maria* ad Nives * s *Oswald Fr.* |
| A | 6 | Transffigwratiwn ein Hargl. J. C. |
| b | 7 | S Donat E. & *M.* s *Clawdia* |
| c | 8 | s Syriac, Larg & Smaragd *MM.* |
| d | 9 | s Roman *M.* s *Hww E Eli* Ympryd |
| e | 10 | S LAWRENS Merthyr |
| f | 11 | S Tibwrtiws, Swsanna *MM.* s *Gilbert E.* |
| g | 12 | S Clara V. |
| A | 13 | S Hyppolyt & s Cassian *MM.* |
| b | 14 | S Eusebius C. Ympryd |
| c | 15 | ASSWMPTION *Mair* fen. |
| d | 16 | S Hyaçinth *C.* s *Rock C.* |
| e | 17 | S *Thomas C.* |
| f | 18 | S *Agapitws M.* s *Helen Emerodres* |
| g | 19 | S *Ruffin C.* * s *Clintacws Clynoc Fr. M.* |
| A | 20 | S Bernard *Ab.* s Stephan Fr. |
| b | 21 | S *Richard E* |
| c | 22 | S Timoth & Hippolit *MM.* |
| d | 23 | S † *Iustinian M.* s Als V. |
| e | 24 | S. BARTHOLOMEW *Ap.* s *Owen E.* |
| f | 25 | s Lewis Fr. |
| g | 26 | s Zepherin *P.* & *M* |
| A | 27 | s *Margaret* * s *Decwman M.* |
| b | 28 | s *Awstin* E. & Doct s Hermes *M.* |
| c | 29 | Decols Ioan Fedyddiwr (tia *V.* |
| d | 30 | Felix & s *Adauctws MM.* s *Gauden-* |
| e | 31 | s *Raymwnd Nonnatws C.* |

| | | |
|---|---|---|
| f | 1 | s Ægidiws (i) silin *Ab.* |
| g | 2 | s *Elpheg E & M.* |
| A | 3 | s *simeon stylita C.* |
| b | 4 | *Rosa V.* s *Rosalia V.* * s *Rhuddlad* |
| c | 5 | s *Bertin Abad.* * s *Marchell* |
| d | 6 | s *Petroniws E.* * s *Idlos* |
| e | 7 | s *Ioan M.* Ympryd |
| f | 8 | GENEDIGAETH Mair fen. |
| g | 9 | s Gorgon *M.* s *Omer E* |
| A | 10 | s Nicolas de Tolentino C. |
| b | 11 | s Protws & Hyacinth *MM.* * s *Daniel* |
| c | 12 | s *Gwido C.* |
| d | 13 | s *Ewgenia V. & M.* s *Amatws Ab.* |
| e | 14 | Exaltatiwn y Groes sanctaidd |
| f | 15 | s Nicomedes *M.* |
| g | 16 | s Corneliws & Cyprian EE. & *MM.* |
| A | 17 | * s Socrates, *&* Stephon *M.* *Stigmata (s Ffraocis* |
| b | 18 | s *Thomas o Villanoua* E. |
| c | 19 | s Ianwariws &c. M. |
| d | 20 | s Ewstachiws &c. M. Ympryd |
| e | 21 | S MATTHEW *Apost.* |
| f | 22 | s Mawris, &c. M. |
| g | 23 | s Linws P. & M. |
| A | 24 | s *Gerrard E.* |
| b | 25 | s *Awrelia V.* * s *Beugan* |
| c | 26 | s Cyprian & Justina M. |
| d | 27 | s Cosmas & s Damian M. |
| e | 28 | s *Lioba V.* |
| f | 29 | DEDICATIWN S Michael Archangel |
| g | 30 | s Hierom Off. & Doct. |

A 1 s Remig E.
b 2 * s *Thomas o Henffordd E.*
c 3 s *Candidws M.* s *Gerard Ab.*
d 4 s Ffrançis o *Assisi* C.
e 5 s Plaçidws &c. *M.*
f 6 s Brwno C.
g 7 s Brigit. * s *Keina V.*
A 8 s Marc *P. & C.* s Sergiws &c. *M.*
b 9 s Denis, &c. *M.*
c 10 s *Pawlin E.*
d 11 s *Edilbwg Abades*
e 12 s *Wilffrid E*
f 13 s *Daniel, Hwgolin, &c.* M.
g 14 s Calixtws P. & M.
A 15 s Teresia V.
b 16 s *Dominic Loricat* C.
c 17 s *Marianws* M
d 18 S Luc Efangelwr
e 19 s *Ffrideswid V.*
f 20 s *Maximws M.*
g 21 s Hilarion *Ab.* s Ursula a'r 10. mil G. M.
A 22 s *Marc E. & M.* s *Cordwla V. & M.*
b 23 s *Ignatiws E.*
c 24 s *Maglor E,* * s *Calofarch*
d 25 s Chrisanth, & Daria *M.*
e 26 s Evarist P. & *M.*
f 27 s *Eadsin E.* Ympryd
g 28 S SIMON & JUDAS Apost.
A 29 s *Egelnoth E.*
b 30 s *Marcellws M.*
c 31 s *Foilan E. & M.* * s *Dagfael* Ympryd

| | | |
|---|---|---|
| d | 1 | DY'GWYL HOLLSAINCT |
| e | 2 | Dy'gwyl y Meirw |
| f | 3 | * *S Gwenfrewi V. & M.* |
| g | 4 | S Carolws E. s Vitalis ac *Agricola M.* |
| A | 5 | * S *Kebiws Cybi E.* |
| b | 6 | S *Winoc, &* * s *Illtud Ebyd.* |
| c | 7 | S *Willobrord E.* |
| d | 8 | Y 4 Merthyri Coronedic. * s *Tisilio Fr.* |
| | 9 | Dedication Eglwys ein Iachawd. * s *Pabo* |
| | 10 | S Triphon, Respiciws, & *Nympha* M. |
| g | 11 | S Martin *E.* * s *Cadwaladr* |
| A | 12 | S *Martin* P. & *M.* s *Mennas M.* |
| b | 13 | S *Homobon C.* * s *Gradfael* |
| | 14 | S *Lawrens E.* |
| | 15 | * S *Machut Machudd E.* |
| | 16 | S *Edmwnd E.* |
| | 17 | S Gregor, & s *Huw EE.* |
| | 18 | Dedicatiwn *Eglwysi* s Petr & s Pawl *Ap.* |
| | 19 | S *Pontian* P. & M. |
| | 20 | S *Edmwnd Fr.* |
| | 21 | Presentatiwn Mair fen. * s *Digain* |
| | 22 | S Cecilia V. & M. * s *Dinolen.* |
| | 23 | S Clement P. & *M* |
| | 24 | S Chrysogon *M.* |
| | 25 | S Catharin V. & *M.* |
| | 26 | S Petr E. & *M* |
| | 27 | S *Balaam & Iosaphat* * s Gallgo |
| | 28 | *S Edwald C.* |
| | 29 | S *Satwrnin M.* * s *Barwc C.* Ympryd |
| | 30 | S ANDREAS *Apost.* |

| | | |
|---|---|---|
| f | 1 | s *Eligius* * s *Daniel EE.* * s *Gwst* |
| g | 2 | s Bibiana V. & M. |
| A | 3 | s Ffrançis Xaveriws C. |
| b | 4 | s Barbara V. & M. |
| c | 5 | s Sabbas *Ab.* * s *Gwrda* |
| d | 6 | s Nicolas E. s *Dionisia M.* |
| e | 7 | s Ambros E. & Doct. |
| f | 8 | CONCEPTION sef Ymddwyn Mair fen. |
| g | 9 | s *Ethelgin Abades* |
| A | 10 | s Melchiades P. & *M.* |
| b | 11 | s Damaswsws P. & C. * s *Beris* |
| c | 12 | s *Elffred V.* * s *Flavinws Fflewyn* |
| d | 13 | s Lwçia V. & M. |
| e | 14 | s *Iudocws C.* |
| f | 15 | s Ewsebiws E. s *Hilda Abades* |
| g | 16 | s *Bean E* s *Albina V. & M.* |
| A | 17 | s *Viuina V.* s *Tetta V.* * s *Tydecho* |
| b | 18 | s *Winibald Ab.* |
| c | 19 | s *Macariws Ab.* |
| d | 20 | s *Liberatws* M. Ympr |
| e | 21 | S THOMAS *Apost.* |
| f | 22 | s *Hildelid V. &* M. |
| g | 23 | * s *Inthwar V. &* M. |
| A | 24 | s *Grata V. & M.* Ympry |
| b | 25 | DY'NATALIC ein H. J.C. s *Anastas. M* |
| c | 26 | S STEPHAN ferthyr Cyntaf. * s *Ta* |
| d | 27 | S JOAN Evangelwr (*thews* |
| e | 28 | DY'GWYL y Gwirioniaid. |
| f | 29 | S THOMAS *E.* Cantwari & *M.* |
| g | 30 | s *Egwyn E.* |
| A | 31 | S SILVESTER P. & C. |

Taflan i gael gwybod y Gwyliau Symmudol oll tros 19 mlynedd yn ol Cyfri Lloegr.

| *Blwyddyn in Hergl.* | *Y Lythyren Ddominic.* | *Dydd Pasc* | *Dydd Sulgwyn.* |
|---|---|---|---|
| 1670. | B | 3 Ebr. | 22 Mai |
| 1671. | A | 23 Ebr. | 11 Me. |
| 1672. | G F | 7. Ebr. | 26 Mai |
| 1673. | E | 30 Maw | 18 Mai |
| 1674. | D | 19 Ebr. | 7 Me. |
| 1675. | C | 4 Ebr. | 23 Mai |
| 1676. | B A | 26 Maw | 14 Mai |
| 1677. | G | 15 Ebr. | 3 Me. |
| 1678. | F | 31 Maw | 19 Mai |
| 1679. | E | 20 Ebr. | 8 Me. |
| 1680. | D C | 11 Ebr. | 30 Mai |
| 1681. | B | 3 Ebr. | 22 Mai |
| 1682. | A | 16 Ebr. | 4 Me. |
| 1683. | G | 8 Ebr. | 27 Mai |
| 1684. | F E | 30 Maw | 18 Mai |
| 1685. | D | 19 Ebr. | 7 Me. |
| 1686. | C | 4 Ebr. | 23 Mai |
| 1687. | B | 27 Maw | 15 Mai |
| 1688. | A G | 15 Ebr. | 3 Me. |
| 1689. | F | 31 Maw | 19 Mai |

*Mewn geiriau yn tarddu o'r Lladin mae'r* ç *hon trwy'r Traethawd ymma a chan mwyaf y t oſlaen* i *pan fo bogail arall yn canlyn* i *honno i'w llafaru megis* ſ *: Ac yn yr ymadrodd Lladin, er mwyn arferu'r Cymry annyſcedic i lafaru'r fogail Ladin* u *yn iawn, mi a'i nodais hi gan mwyaf a'r character bogeilaidd Cymraeg* w, &c.



*Y Dyddiau Gwyl gorchymmynedic trwy'r flwyddyn, yn ol Declaratiwn P. Urban* VIII. 1642.

Dydd-Calan, Dydd-gwyl Ystwyll, Puredigaeth, Cyfarchiad Asswmpriwn, a Genedigaeth ein Harglwyddes fendigedig Mair forwyn bob amser. Pob dydd gwyl pennaf y deuddeg Apostolion. Dydd-gwyl Sanct Joseph. Inventiwn y Groes Sanctaidd. Dydd-gwyl Sanct Joan Fedyddiwr. Dyddiau gwyl. S. Ann mam ein Harglw. fendigedig. S. Lawrens, S. Michael Archangel. Dy-gwyl Holl-Sainct. Dy-Natalic, dy-gwyl S. Stephan, dy-gwyl y Gwirioniaid, dy-gwyl S. Sylvester. Ac un Wyl y Patron pennaf Dinas, Gwlad, neu Deyrnas.

*Dyddiau gwyl eraill a arferir eu cadw yn vchel gan bob Christianogion duwiol er nad-ydyw'r Eglwys lan yn eu gorchymmyn hwynt.*

Dydd-gwyl S. Mark, S. Mair Magdalen, a S. Luc. ond yn bennaf oll Conçeptiwn neu Ymddwyn distrycheulyd ein Harglwyddes fendigedig Mair forwyn, &c.

*Y Dyddiau gwyl Symmudol.*

YR holl Suliau trwy'r flwyddyn Dydd-llûn a dydd-mawrth Pasc Dydd-Iou Dyrchafael. Dy-llûn a dy-mawrth Sulgwyn. A dy-gwyl Corpw Christi.

*Y Dyddiau Ympryd.*

POb dydd o'r Garawys. Y Catgoriau. Noswyl-Natalic. Noswyl Sulgwyn. Noswyliau Puredigaeth Cyfarchiad (oddieithr pan ddelo y wythnos y Pasc) Asswmptiwn, Ge-

nedigae

nedigaeth ac Ymdddwyn ein Hargl. fend. Mair forwyn. Noſwyl Holl-Sainct. Noſwyliau y deuddeg Apoſtolion (onid S. Joan Evangylwr a S. Philip &S. Jacob) Noſwyl S. Joan Fedyddiwr. &c S. Lawrens. Yr holl ddyddiau gwener trwy'r flwyddyn, ond oddy Natolic hyd yr Yſtwyll, ac yn wythnos y Paſc. Y dydd-Llûn a'r dydd-Mercher oflaen dydd Joy Dyrchafael.

Nid ydyw arfer ymprydio yn rhai o leodd rhwng Dydd-Paſc a'r Dyrchafael, hynny yw tra fo'r Priodfab gyda ni. Mat. 9. 15.

Yr ydym yn rhwymedig i ymwrthod a chig ar yr holl ddyddiau Satwrn trwy'r flwyddyn, ar yr holl Suliau yn-y Garawys, ar ddydd-gwyl S. Marc (ond pan ddelo yn wythnos y Paſc) ac ar ddy-Mawrth o flaen dydd-Joy Dyrchafael.

Dymma'r Gwyliau a'r Ymprydddyddiau gorchymmynedig a chynnefinaf i'w cadw: ond oblegid fôd amryw arferau yn amryw Wledydd, dilyned pob vn gyngor y rhai diſcedig a'r rhai duwiol lle bo yn byw.

*Y Catgoriau.*

Y dydd-Mercher, y dydd-Gwener a'r dydd-Satwrn nessaf ar ôl y Sul cyntaf o'r Garawys, ar ôl Dydd-Sulgwyn ar ôl Exaltatiwn y Grôg Sanctaidd, ac ar ôl dydd-gwyl Sanct Luçi ydynt y Catgoriau.

*Yr Advent.*

Y Sûl cyntaf o Advent bôb amser ydyw hwnnw a ddêl ar ddydd-gwyl S. Andreas Apostol: neu y nessaf iddo o'r blaen, neu ar ôl, hynny yw, y Sûl a ddigwyddo ar y 27 o fis Tachwedd, neu ar y trydydd o fis Rhagfyr, neu ar un o'r 6 diwrnodau sy rhyngthynt.

*Pa amser y mae'n rhydd priodi.*

MAe'n waharddedig Solemnizo Priodas, neu gynnal Neithior o'r Sûl cyntaf o Advent hyd Ddydd-gwyl Ystwyll, ac o ddydd Mercher

y lludw hyd Ddydd-Pasc bychan: ar bôb amser arall y gallir ei chynnal hi yn gyfreithlon.



*Yr Athrawiaeth Gristianogol.*

*Gweddi ein Harglwydd a elwir.*

*Y Pater noster.*

Ein Tad ni, yr hwn wyt yn y nefoedd, Sancteiddier dy enw di: delid dy deyrnas di: gwneler dy ewyllys di, megis yn y nef, hefyd ar y ddaear: Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol: a maddeu i ni ein dyledion megis yr ydym ninnau yn maddeu i'n dyledwyr: Ac na ddwg ni i brofedigaeth: ond gwared ni rhag drwg Amen.

*Yr un weddi yn iaith yr Eglwys: sef yr iaith sy gyffredin ymmysc yr holl ffyddloniaid tros wyneb y Ddaear.*

PAter noster, qui es in coelis: sanctificetwr nomen twwm: adveniat regnum twwm: fiat folwntas twa, sicwt in coelo & in terra. Panem nostrwm quotidianwm da nobis hodie: & dimitte nobis debita nostra, sicut & nos dimittimws debitoribws nostris: Et ne nos indwcas in tentationem, sed libera nos a malo. Amen.

*Cyfarchiad yr Angel a elwir*
*Yr Ave Maria.*

HAnffych well Fair, gyflawn o râs, mae,'n Harglwydd gyda chi: bendigedig wyti ymmysc merched, a bendigedig yw ffrwyth dy groth di Jesu. Sancteiddiol Fair, mam Dduw gweddia trosom ni bechaduriaid yrwôn, ac yn awr angeu. Amen.

*Yr*

*Yr vn weddi yn iaith yr Eglwys.*

AFe Maria, gratia plena, Dominwſ tecum : benedicta tw in mwlieribws, & benedictws frwctws fentris twi Jeſws. (Sancta Maria, mater Dei, ora pro nobis peccatoribws nunc & in hora mortis noſtræ. Amen.

*Pyngciau'r ffydd a elwir Credo'r Apoſtolion.*

CRedaf yn Nuw'r Tâd hollalluog, Creawdwr nêf a daear. Ac yn Jeſu Ghriſt, ei vnic fâb ef, ein Harglwydd ni, yr hwn a ymddwynwyd o'r Yſpryd Glan, a aned o Fair forwyn, a ddioddefodd tan Pontiws Pilatws, a groeſhoeliwyd, y ſu farw, ac a gladdwydd : a ddiſcynnodd i vffern : y trydydddydd cododd o feirw : a ddyrchafodd i'r nefoedd, ſydd yn eiſtedd ar ddeheu-law Duw'r Tâd hollalluog: oddiyno y daw i farnu'r byw a'r meirw. Credaf yn yr Yſpryd Glân,

yr Eglwys lân Gatholic, cyffredinrwydd y Sainct, maddeuant pechodau, adgyfodiad y cnawd, bywyd tragywyddol. Amen.

*Yr vn yn iaith yr Eglwys.*

CRedo in Dewn patrem omnipotentem; creatorem çæli & terræ. Et in Jeswm Christwm, filiwm eiws wnicwm, Dominwm nostrwm: qui conçeptws est de Spiritw Sancto, natws ex Maria Firgine, passws sub Pontio Pilato, cruciffixws, mortwws, & Sepwltws: desçendit ad inferos: tertia die reswrrexit a mortwis: asçendit ad çælos, sedet ad dexteram Dei Patris omnipotentis: iude fentwrws est iwdicare fifos & mortwos. C.edo in Spiritwm Sanctwm, Sanctam Ecclesiam Catholicam, Sanctorwm commwnionem, remissionem peccatorwm, carnis reswrrectionem, fitam æternam. Amen.

Y

## Y *Deg Gorchymmynion.*

1. NA fydded i ti Dduwiau eraill ger fy mron-i, na wna it beth cerfedig, na chyffelybiaeth oll yr hon fydd yn y nef uchod, neu'r hon yn ddaear isod, nac o'r pethau fydd yn y dyfroedd tan y ddaear. Na addola, ac na anrhydedda hwynt, &c.

2. Na chymmer Enw dy Arglwydd Dduw yn ofer &c.

3. Cofia Sancteiddio'r dydd Sabbath, &c.

4. Anrhydedda dy Dad a'th Fam &c.

5. Na ladd.

6. Na wna odineb.

7. Na ladratta.

8. Na Ddwg gam destiolaeth yn erbyn dy gymydog.

9. Na chwennych wraig dy gymydog.

10. Na thrachwanta ddim a'r fydd eiddo dy gymydog.

## Y *Saith Sacramentau.*

| | |
|---|---|
| 1. Bedydd. | Matth. 28. 29 |
| 2. Conffirmatiwn | 2 Cor. 1. 22 |
| 3. Ewcharist. | Matth. 28. |
| 4. Penyd. | Jo. 20. 23. |
| 5. Olew olaf. | Jac. 5. |
| 6. Vrdden. | Matth. 26. |
| 7 Priodas. | Matth. 19. |

## Y *Tair rhinwedd Theologawl.*

1 Ffydd. 2. Gobaith. 3. Cariad perffaith.

## Y *Pedair rhinwedd Cardinawl.*

1. Pwylledd. 2. Cyfionedd. 3. Grymyssedd. 4. Tymeredd.

## *Deuddeg* Ffrwyth *yr* Y*spryd Glan.*

1. Cariad perffaith.
2. Llawenydd.
3. Heddwch.
4. Dioddefgarwch.
5. Tiriondeb.
6. Daioni.
7. Hiroddef.
8. Mwyneidd-dra.

9. Ffydd

9. Ffydd.
10. Modduſtra.
11. Ymattal.
12. Diweirdeb.

*Dau Orchymmyn Cariad perffaith.*

CÂr ein Harglwydd dy Dduw a'th holl galon, a'th holl enaid, a'th holl nerth, a'th holl feddwl: a châr dy gymydog fel dyhunan.

*Gorchymynion yr Eglwys, yw*

1. GWrando'r Offeren bôb Sûl a Gwyl gorchymmynedig.
2. Ymprydio y Garawys, y Catgoriau, a'r dyddiau eraill gorchymmynedig: ac ymwrthod a chîg ar bôb Satwrn ac ar y dyddiau eraill arferedig.
3. Cyffeſſu o'r hyn lleiaf vnwaith bôb blwyddyn.
4. Cymmuno o'r hyn lleiaf vnwaith yn y flwyddyn, a hynny ar y Paſc.
5. Talu degwm i'r Eglwys lân.
6. Na wneler Neithior, ſef peidi-

cynn-

cynnal Solemniadau Priodas ar amseroedd gwahardd:dig, y rhai a ddywedwyd o'r blaen.

### *Saith Rhodd yr Yspryd Glan.*

1. Doethineb. 2. *Dyall*. 3. Cyngor.
4. Grymysfiedd. 5. Gwybodaeth.
6. Duwioldeb. 7. ac Ofn Duw.

### *Saith Weithradoedd corphorol y Drugaredd.*

1. Cynghori'r ammheus, neu'r sawl y fo'n dowtio.
2. Dyscu'r anwybodol.
3. Ceryddu, neu rybyddio'r Pechadur.
4. Cyssuro'r saul a fo mewn blinder
5. Maddeu y cammau a wnaed i ni.
6. Diodef yn hawddgar y sawl a fo yn ein gofidio ni.
7. Gweddio ar Dduw tros y byw a'r meirw.

## Yr wyth Dedwyddwch.

1. Dedwydd yw'r tlodion o yspryd: canys hwy piau teyrnas y nefoedd.
2. Dedwydd yw'rhai addfwyn: canys hwy a feddiannant y tîr.
3. Dedwydd yw'rhai galarus: canys hwy a gyssurir.
4. Dedwydd y rhai sydd arnynt newyn a syched am gyfiawnder: canys hwy a ddigonir.
5. Dedwydd y rhai trugarog: canys hwy a gaant drugaredd.
6. Dedwydd y rhai glan eu calon: canys hwy a welant dduw.
7. Dedwydd y rhai heddychawl: canys hwy a elwir, Plant Duw.
8. Dedwydd yw'rhai sy'n dioddef erlid am gyfiownder: canys hwy piau teyrnas y nefoedd.

### *Am Bechod.*

Mae dau fath neu ryw o bechod, sef

Pechod { Gwreiddiol neu Ddechreuol

Gweithredol. { Marwol / Maddeuol.

*Y saith Prif-bechod a elwir yn gyffredin y Pechodau Marwol,*

1 Balchder.
2 Cybydd-dra.
3 Anlladrwydd.
4 Cenfigen.
5 Glothineb.
6 Llid neu Ddigofaint.
7 Diogi.

*Y Rhinweddau gwrthwyneb.*

1 Gostyngeiddrwydd.
2 Haelioni.
3 Diweirdeb.
4 Dioddefgarwch.
5 Dirwest, neu Ymattal.

6, Mwyu-

6 Mwyneidd-dra, neu Hynawsedd.
7 Dyfalwch duwiol, neu Ddefosiwn.

*Y chwech Pechod sy'n erbyn yr Yspryd Glan.*

1 Rhysyg, sef Presymptiwn ar drugaredd Duw.
2 Anobaith.
3 Gwrthddywedyd, neu wadu'r gwirionedd diammeu.
4 Cenfigennu daioni ysprydol yn arall.
5 Cyndynrwydd mewn pechod.
6 Anedifeirwch gorphennawl.

*Pethau anguenrheidiol i'r Pechadur edifeiriol.*

1 Cystudd calon.
2 Cyffes holl-gyfan i Offeiriad a approfwyd.
3 Satisffactiwn, neu Jawn-waith.

Gwir gystudd calon, sef Contritiwn y fydd, pan fo yn ddrwg gan ddyn ddarfod iddo bechu, a hynny (nid rhag ofn uffern, ond) o wir gariad

i ad ar Dduw, gyda llawn fryd na phe-
cho ef fyth mwy.

Y *Pedwar Pechod ſy'n gweiddi hyd y Nef am ddial.*

1 Lladd celain, neu ladd dyn yn wybodol ac o wi: fodd.
2 Pechod Sodom, neu bechod cnawdol yn erbyn natur.
3 Gorthrechu'r tlodion.
4 Twyllo gweinidogion o'i cyflog.

*Naw modd o fod yn euog o bechod vn arall*

1 Trwy gynghori.
2 Trwy beri, neu orchymyn.
3 Trwy fod yn fodlon.
4 Trwy gymmell.
5 Trwy ganmol.
6 Trwy gelu.
7 Trwy fod yn gyfrannog.
8 Trwy dewi a fôn.
9 Trwy daeru, a maentumio y drwg a wnelo vn arall.

*Y tair Gwithredeedd da goruchaf.*

1 Elusen. 2 Gweddi. 3 Ympryd.

*Y tri Cynghorion Evangelawl.*

1 Tlodi ewyllysgar.
2 Diweirdeb tragywyddol.
3 Vfydd-dod gwastadol.

*Y Pedwar peth diweddaf.*

1 Marwolaeth. 2 Y Farnedigaeth.
3 Vffern. 4 Teyrnas y Nef.

## Cyngor wrth godi y boreu.

Y *N gyntaf dim, wedi deffro, gwna arwydd y Groes arnat, a gweddia ar Dduw iddo dy oleuo dia goleuni ei Yspryd Sanctaidd, fel na themptier di i gonsentu i bechod, ac felly i gwympo i farwolaeth ysprydol.*

Y*nail, wedi i ti wisgo amdanat, na ddyro dyhunan i siarad ffol, neu wag-feddy-*

*feddyliau, ond cod dy galon at Dduw yn ddistaw, a darpara dyhun i weddio fel y mae yn canlyn ymma.*

*Yn drydedd, ar ol gweddi gwna bwrpas llawn diogel o ymwrthod y diwrnod hwnnw a phob peth a all ddigio Duw, neu'th gymydog.*

*Yn ddiweddaf, mae'n agenrheidiol iawn i ti, ddwyn ar gof dy holl orchwylion y fo i'w gwnenthur y dydd hwnnw, a dosparthu'r cwbl yn drefnus, i'w cyflawni yn dda.*



## Gweddiau i'w dywedyd pan ddihunodyn o'i gwsg.

DUw'r Tâd yr hwn a ddywedaist yn y dechreuad, bydded goleuni, a gwnaed ef: goleua fy llygaid i fel na chysgaf-fyth ymmhechod, rhag i ddichellion y Cythraul, neu fy llygredigaeth fyhûn fynghorthrechu i ryw amser.

Duw'r

Duw'r Mâb, y gwîr oleuni teccaf oll, ſy'n goleuo'r tywyllwch, ac yn diſgleirio ar bawb, yn dyfod i'r byd hwn, gyrr ymaith oddiwrthyf holl gymylau anwybodaeth, a dyro i mi ddyall i allu ynoti, a thrwoti weled a gwybod y Tâd gwybod yr hwn yw byw, a gwaſnaethu'r hwn yw teyrnaſſu'n dragywydd.

Duw'r Yſpryd Glân yr hwn wyt a chwantau nefol yn ennynnu ewyllys y ſawl yn y rhai a teilyngi di breſwylio, tywallt i'mhenaid dy gariad di, fel trwy ddibriſio holl bethau ofer a darfodedig, y bo hiraeth arnaf am wir a thragywydd lawenydd teyrnas y nefoedd.

Y *D*rindod Sanctaidd, vn Duw, ymddiffyn fi y dydd hwn rhag holl ddichellion a themptaſiwnen y Cythraul, cadw fi rhag pob pechod marwol, ac angeu diſymmwth anmharod. O dduw cod fynghorph o ſtâd cyſgadur, a'm enaid o bechod i foliannu,

annu, a gogoneddu dy Enw ſanctaidd di, i'r hwn y mae'n perthynu bendithion oll, a gogoniant, a doethineb, a diolch ynawr ac yn dragywydd. *Amen.*

### *Wrth godi.*

YN enw ein Harglwydd Jeſu Ghriſt a groeshoeliwyd, mi a godaf. O Arglwydd cyfarwydda fi, cadw, a chadarnhâ, fi ymmhob gweithred dda heddyw, ac yn dragywydd, ac wedi'r pererindod byrr goſidus hwn, dwg fi i'r Gwynfyd a bery byth. *Amen.*

O Arglwydd daionus, Chriſt Ieſu, agor ſynghalon, a'm gwefuſſau i i foliannu, ac i ogoneddu dy Enw ſanctaidd di, yr hwn ſy fendigedic goruwch pob enw. Pura ſy enaid o bob meddyliau drwg a diffaith, fel y bendithient di ſyngwefuſſau i, fel y myſyria ſy meddwl arnat, ac fal y gogonedda di ſy mywyd i yn barhaus. Ac oblegid trwy dy ddaioni di yn vnic ſy mod i wedi'm creu i foliannu ac i ogoneddu

ogoneddu dy Enw Sanctaidd di: caniada, attolygaf arnat, i mi yngolwg dy dduwfawl Fawredd, dy wasanaethu di yn ffyddlon ymma, a llawenychu gyda thi yn dragywyddol ar ol hyn, yr hwn gyda'r Tâd, a'r Yspryd Glân wyt yn byw ac yn teyrnassu, vn Duw tros oesoedd oesoedd. Amen.

*Wedi i ti fynd allan o'r gwely.*

IEsu daionus. gorphwys tragywyddol dy Etholedigion, pa bryd y daw'r awr y caiff fy enaid gofidus i fynd i mewn i ardalau dedwyddlawn yr heddwch, a'r gorphwys a ddarparwyd i ni yn y Gogoniant nefawl?

*Wrth wisgo amdanat.*

O Jesu Sancteiddiol, fel na weler cywilydd fy enaid pechadurus, amwisga hi a gwiscadau dy gyfiawnder, a chuddia hi a phob math o rinweddau, a grasslawn ddoniau. *Amen.*

*Wedi*

*Wedi gwiſeo amdanat.*

O Jeſu daionus, cywir Briodfab f'enaid i, dyro i mi briod-wiſg dy ddûwfawl Gariad, trwy berffeith-lawn ſerch arnati. *Amen.*

*Wrth olchi dy lygaid.*

O ddiſglair Oleuni dibaid, yr hwn wyt yn goleuo pob vn yn dyfod i'r byd hwn, goleua lygaid fy enaid i, fal y gallwyf weled yn berffaith, a chyflawni dy ewyllys bendigedig, a'th fodd di. *Amen.*

*Wrth olchi dy ddwylo.*

O Arglwydd Dduw, yr hwn a'n cerais ni yn gymmaint a golchi ein heneidiau ni yn dy waed gwerth fawr glanha, attolygaf arnat, fyng-halon a'm dwylo i o holl frychau a budreddi pechod. *Amen.*

*Wrth*

*Wrth olchi'r geneu.*

O ddoethineb dduwfawl, yr hwn wyt yn deilliaw o eneu dy dâd Nefawl; attolygaf arnat yn oftyngeiddlawn, glanha fy-ngwefusau i o holl eiriau diffaith anfuddiol, fel nas agoro fy-ngeneu fyth, ond i'th foliant di ac er llês i rai eraill. *Amen.*

Y *Bendith.*

Duw'r Tâd a'm bendithio: Jesu Grist a'm ymddiffynno: rhinwedd yr Yspryd Glân a'm goleuo, ac a'm cyfarwyddo-i yrwŏn ac yn dragywydd. *Amen.*



Gweddiau beunyddol.
Y *Boreuau.*

Yn-enw'r Tad a'r Mab, a'r Yspryd Glan; *Amen.*

Bedi-

Beudigedig y fo'r Drindod ddirannadwy ynawr ac yn dragywydd. *Amen.*

Pater noſter, &c.
Afe Maria, &c.
Credo, &c.

*neu.*

E in Tad ni, &c.
Hanffych well, &c.
Credaf, &c.

Y *Gyffes Gyffredin.*

Cyffeſaf i Dduw hollalluog, i fendigedig Fair forwyn bob amſer, i fendigedig Fihangel Archangel, i fendigedig Ioan Fedyddiwr, i'r ſanctaidd Apoſtolion Petr a Phawl, ac i'r holl Sainct: ddarfod i mi bechu yn rhy fawr ar feddwl, gair, a gweithred trwy fy mai, trwy fy mai; trwy fy nirfawr fai. Amhynny attolygaf ar fendigedig Fair forwyn bob amſer, ar fendigedig Fihangel Archangel, ar fendigedic Ioan Fedyddiwr, ar y ſanctaidd Apoſtolion Petr a Phawl, ac

ar

ar yr holl Sainct weddio trosaf at ein Harglwydd Dduw.

Duw hollalluog a drugarhao wrthym ni a chan faddeu i ni ein pechodau, a'n dycco ni i fywyd tragywyddol.

Yr hollalluog Arglwydd trugarog a roddo i ni faddeuant, absolutiwn a rhuddhaad o'n pechodau. *Amen.*

*Vers.* Teilynga, O Arglwydd, y dydd hwn.

*Resp.* Ein cadw ni yn ddibechod.

*Vers.* Trugarha wrthym, O Arglwydd.

*Resp.* Trugarha wrthym ni.

*Vers.* Bydded dy drugaredd di arnom ni,

*Resp.* Megis a gobeithiasom ynoti.

*Vers.* Gwrando fy-ngweddi, O Arglwydd.

*Resp.* A deued fy llef hyd atto ti.

*Gweddiwn.*

O Arglwydd Dduw hollalluog, yr hwn a wnaethost i ni ddyfod i

ddechreuad y dydd hwn, cadw ni heddyw a'th nerth : fel na ſyrthiom i bechod y diwrnod hwn, eithr gwna i'n hymadroddion ddeilliaw bôb amſer, a chyfarwydda ein meddyliau a'n gweithredoedd ni i gyflawni dy gyfiawnder di. Trwy'n Harglwydd Jeſu Griſt, yr hwn ſy'n byw ac yn teyrnaſu gyda thi yn vndod yr Yſpryd Glan Duw tros holl oesoedd oeſoedd. *Amen.*

*Verſ.* Bendithiwn ein Harglwydd.

*Reſp.* Bid diolch i Dduw.

*Verſ.* Gwerthfawr yn-gwydd ein Harglwydd.

*Reſp.* Ydyw marwolaeth ei Seinct.

Mair Sanctaidd a'r holl Sainct a weddient troſom, i ni fod yn deilwng o gael cymmorth a iachawdwriaeth gantho ef, yr hwn ſy'n byw ac yn teyrnaſu tros oeſoedd eoſoedd. *Reſp. Amen.*

*Verſ.* O Dduw diſgwyl arnaf i'm cymmorth.

*Reſp.* Arglwydd bryſſia i'm cymmorthwyo.

A

*A dywedir hynny deirgwaith, ac yna*

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd Glân:

Megis yr oedd yn y dechreuad, ac yrwŏn, a phob amser, a thros oesoedd oesoedd. *Amen.*

Arglwydd trugarha wrthym. Christ trugarha wrthym.

Arglwydd trugarha wrthym. Ein Tad ni, &c.

*Vers.* Ac na ddwg ni i brofedigaeth.

*Resp.* Ond gwared ni rhag drwg.

*Vers.* Edrych ar dy weision, O Arglwydd, ac ar dy weithredoedd dyhun, a chyfarwydda eu plant hwy.

*Resp.* A bydded disgleirdeb ein Harglwydd Dduw arnom ni, a chyfarwydda weithredoedd ein dwylo arnom, a chyfarwydda waith ein dwylo ni.

*Vers.* Gogoniant ir Tad, &c.

*Resp.* Megis yr oedd, &c.

## *Gweddiwn.*

TEilynga, O Arglwydd Dduw Frenin nef a daear, y dydd hwn gyfarwyddo Sancteiddio, rheoli a llywodraethu ein calonnau a'n cyrph ni, ein synwyrau, ein geiriau, a'n gweithredoedd ni yn dy gyfraith di, ac yn gweithredoedd dy orchmmynion di, fel y gallom ymma, ac yn dragywydd fod yn ddigaeth ac yn gadwedig trwy dy gymmorth di, Ceidwad y byd: Yr hwn wyt yn byw, ac yn teyrnasu tros oesoedd oesoedd. *Amen.*

*Vers.* Ein cymmorth ni sydd yn enw ein Harglwydd.

*Resp.* Yr hwn a wnaeth nef a daear.

## Y *Bendith.*

BEndithied ein Harglwydd ni, ac amddiffyned ni rhag pob drwg, a dyged ni i'r bywyd tragywyddol. *A* gorphwysent eneidiau y Ffyddloniaid

aid yn heddwch trwy drugaredd Duw. *Amen.*

*Gweddi y boreu.*

HOllalluog Dduw, yr hwn wyt yn preſwylio yn y nefoedd goruchaf, ac etto mae'n wiw gennyt ddiſgwyl ar y Creadur gwaelaf ar y ddaear, yr wyfi yn oſtyngaidd yn addoli dy Fawredd Sancteiddiol di, ac a holl nerth fy enaid yn clodfori, ac yn moliannu dy Enw bendigedic di, am yr aneirif fendithion a dywalltaiſt yn llawn hael arnaf, trwy fy etholi yn dy gariad di, a'm creu yn ol dy lûn di dyhnn, ac am i ti ſy rhybrynnu i trwy dy Fab, a'm ſancteiddio a'th Yſpryd Glan, am i ti fy achub i ymhob peryglon y bywyd hwn, a chodi fy meddyliau i obeithio am vn ſydd well, ac yn enwedig am dy ddaionus ymddiffyn rhag enbydrwydd y nos hon, a'm dwyn i yn iach-ddiaſgen i ddechreuad y dydd hwn. Parha O *A*rglwydd dy drugaredd arnaf, ac

megis a dyhunaist fy nghorph o gwsg felly hefyd cod fy enaid o bechod, fal y gallwyf rodio yn hollawl vfydddod yn dy wydd di.

Gwared fi, O Arglwydd rhag drygioni y dydd hwn, a chyfarwydda fyngrhaed yn llwybrau heddwch, nertha fy mryd yn holl lawen i gofleidio pob arfod o wneuther daioni, ac i ochelyd yn ddyfal pob math o achosion pechod, yn enwedig N. a'rhai eraill, y rhai a wn trwy hir-ymarfer eu bod yn beryglus i'm enaid; a phan, trwy wendid naturiol, a gollyngaf di yn angof, cofia di fyfi yn dy drugaredd, fel os trwy ddrwg duedd fy naturiaeth y syrthiaf yn fynych, y gallwyf godi eilwaith trwy gymmorth dy ras di. Gwna fi yn ddyfal yn rhwymedigaethau fy-ngalwadigaeth, heb fod yn rhy-ofalus am lwyddiant fy negesau, ond ym mhob anhap a chroesineb y byd hwn yn llawn fodlon i'th ewyllys Duwfol di: ac i ymddiried yn hollawl yn dy Ragddarbod di. Bydded dy fendithion di ar fyngweithre-

ngweithredoedd i: cyfarwydded dy Ras dy fy mwriadau i, fel y bo holl dreigl fy mywyd, ac amcan pennaf fy-nghalon yn tynnu bob amser i fawrhau dy Ogoniant di: i wneuthur llês i rai eraill, a iachadwriaeth tragywyddol i'm henaid innau. Trwy Jesu Grist ein Harglwydd, a'n Ceidwad vnic: yr hwn gyda thi a'r Yspryd Glan sy'n bwy fyth, ac yn teyrnasu vn Duw tros oesoedd oesoedd. *Amen*

Dyro i mi, O Arglwydd, wneuthur y peth a ochymynnych: a gorchymynna y peth a fynnych.

Dyro i mi ddioddef y peth a ganiattych ddigwyddo i mi: a chaniatta y peth a fynnych.

Bendith Dduw hollalluog y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glan a ddisgynno arnaf, ac a drigo fyth yn fy-nghalon. *Amen.*

*Ymanwerch tra-ddefosionawl i'w dywedyd y boreu.*

YR wyfi yn dy addoli dy, ac yn dy foliannu di, y Drindod fendigedic, Duw hollalluog, y Tad, y Mab, a'r Ysprydd Glan; yr wyfi yn offrymmu fyhun i'th Dduwfawl Fawredd, gan ddymuno arnat yn ostyngedic gymmerydd o ddiwrthyfi, ac oddiwrth dy holl Ffyddloniaid bethbynnag sydd yn dy anfodloni di: a rhoi i ni yr hyn oll sydd gymmeradwy ger dy fron di: caniada i ni wneuthur ymma y peth a orchymynnaist: ac yn ôl hyn dderbyn y peth a addewaist. I ti, O Arglwydd yr wyf yn gorchymyn fy enaid a'm corph: (fy-ngwaig a'm plant) (fy-nhad a'm mam) (fy-mrodyr a'm chwiorydd) fy-ngheraint a'm benefactoriaid f'anwylion a'm cyfeillion, a phawb oll, tros y rhai yr wyf yn rhwymedig i weddio. Gorchmynnynnaf i ti hefyd, yr Eglwys lan Gatholic. Caniada, O Arglwydd i bawb dy

dy adnabod di, dy foliannu di, dy anrhydeddu di, dy garu di: a bod yn garedic gennyti. Arwain eilwaith i'r ffordd y sawl sy'n cyfeiliorni. *Di*-ffrywia bob Heresi. Ymchwel a thro bawb i'r fforth iawn, sy etto heb dy wybod di. Dyro i ni dy râs, O Arglwydd, a chadw ni yn dy heddwch. Bid dy ewyllys sanctaidd di, ac nid ein hewyllys ni. Cyssura y sawl sy'n dwyn eu bywyd mewn tristwch, adfyd, a themptasiwnau: ac yn drugarog ysgafnha eu blinder hwy pabynnag ai ysprydol ai corphorol. Yn ddiweddaf yr wyf yn gorchymyn pawb yn hollawl i'th ymddiffyn a'th Nodded Sanctaidd di, fel y bo teilwng gennyt roi maddevant eu pechodau i'r byw, a gorphwys tragywyddol i'r meirw. Amen.

*Un arall.*

O Arglwydd trugarog anfeidrol, i'th ddwylo di yr wyf yn gorchymyn fy enaid a'm corph, fy synwyrau

wyrau a'm geiriau, fy meddyliau a'm gwithredoedd, gyda holl angenrheidau fy-nghorph a'm enaid, fy mynediadau i mewn ac allan, fy fyrdd a'm hymarweddiad, treigl a diwedd fy mywyd, dydd ac awr fy marwolaeth, fy-ngorphwys a'm hadgyfodiad gyda'th Sainct, a'th Etholedigion di, *Amen.*

*Gweddi i barhau mewn daioni.*

CAniada i mi, O Arglwydd Jesu Grist, barhau mewn bwriadau da, ac yn dy wasanaeth Sanctaidd di, hyd fy marwolaeth: a dechreu o honof yn berffeithlawn y dydd presennol hwn, canys nid ydyw ddim yr hyn a wneuthym hyd ynawr. *Amen,*

*Gweddi at dy Angel Ceidwad.*

O Angel Duw, i Sanctaidd ymgeledd yr hwn a gorchymynwyd fi trwy ddaioni y Goruchaf, goleua, am-

amddiffyn, a rheola fi heddyw ymhob meddwl, gair a gweithred. *Amen.*

BEndithia ni, O Arglwydd, a chadw ni rhag pob drwg, a dwg ni i fywyd tragywyddol, a gorphwysent yn heddwch eneidiau y Ffyddloniaid, trwy drugaredd Dduw. *Amen.*

Y *Bendith.*

TAngnefedd ein Aarglwydd Jesu Grist, rhinwedd ei Ddioddefaint Sanctaidd ef, Arwydd y Grog lân, anlygredigaeth a gollyngeiddrwydd Mair forwyn fendigedic, amddiffyn yr Angelion, a gweddi yr holl Sainct ac Etholedigion Duw a fo gyda mi, ac a'm cattwo fi yr wŏn, ac yn awr angeu, Jesu daionus. *Amen.*

*Y boreuau; canol dydd, ac ar y cydechwydd pan ganir Cloch Cyfarchiad Mair dywedwch fel hyn.*

1. Angel ein Harglwydd a fynegodd i Fair, a hi a ymddwynodd o'r Yspryd Glan.

*Hanffych well Fair, &c.*

2. Wele wasanaethyddes ein Harglwydd, bydded imi yn ol dy air di.

*Hanffych well Fair, &c.*

3. A'r Gair a wnaed yn Gnawd ac a drigodd ynomi.

*Hanffych well Fair, &c.*

*Gweddiwn.*

TYwallt, O Arglwydd attolygwn arnat, dy ras i'u heneidiau ni, fal a gallom ni, y rhai a gowsom wrth Gyfarchiad yr Angel wybod ymgnawdoliaeth, dy fâb di, trwy ei Ddioddefaint a'i Groes ef gael ein hebrwng i ogoniant yr Adgyfodiad. Trwy'r vn Christ ein Harglwydd, *Amen.*

A

A go phwyſent yn heddwch eneidiau y Ffyddloniaid trwy drugaredd *Duw. Amen.*

*Wrth fynd allan o'r ty.*

DAngos i mi, O Arglwydd dy ffyrdd, a dyſg i mi dy lwybrau, cyfarwydda ſy-nghamrau yn ol dy air di, fel na arglwyddiaetha dim anghyfiawnder arnaf: perffeithia ſyngherddediadau yn dy lwybrau di fel na chyffroir ſy-nghamrau.



## Wrth fyned i mewn i'r Eglwys.

OArglwydd, yn amlder dy drugareddau yr af i mewn i'th dy di, addolaf tua'th *Deml* Sanctaidd, a chyffeſſaf i'th Enw di.

*Wrth gymmeryd dwfr bendiged.*

Ti a'm ysgeini, O Arglwydd, ag hysop, a glanheir fi, ti a'm golchi, a byddaf wynnach na'r eira.



## Bendith o flaen bwyd.

BEndithia ni, O Arglwydd, a'r rhoddion hyn hefyd, y rhai a gymmerwn ni o'th haelioni di. Trwy Grist ein Harglwydd. *Resp. Amen.*

*Gras ar ol bwyd.*

YR ydym yn diolch i ti, O *Dduw* hollalluog, am dy holl ddaioni. yr hwn wyt yn byw ac yn teyrnasu yn dragywyddol. *Resp. Amen.*

,Teilynga

Teilynga, O Arglwydd, roddi i'n Benefactoriaid ni oll, er dy Enw di, fywyd tragywyddol. *Resp. Amen.*

*Vers.* A gorphwysent trwy drugaredd Dduw, eneidiau y Ffyddloniaid yn heddwch. *Resp. Amen.*



Gweddiau i'w dywedyd y Nos cyn mynd i gysgu.

YN enw'r Tâd, a'r Mab, a'r Yspryd Glan. *Amen.*

Bendigedig y fo'r Drindod ddirannadwy ynawr ac yn dragywydd. *Amen.*

Pater noster, &c.
Afe Maria, &c.
Credo, &c.

*neu,*

E in Tad ni, &c.

*Han*

Hanffych well, &c.
Credaf, &c.

O *D*duw Tragywyddol, Hollalluog, Anfeidrol gogoniant yr hwn nid ydyw Nêf y Nefoed yn abl i gynnwys edrych i waered ar dy wasanaethydd anheilwng, yn penlino ger bron dy *D*rugaredd di, ac yn ostyngedig yn cyffesu yngwydd dy holl Angelion bendigedig, a'th ogoneddus Sainct ddrygioni a gwagedd fy muchedd, ac yn bendifaddeu beiau y dydd hwn, yn enwedig N. a N. trwy'rhai a digias gynneu dy Fawredd di, ac y clwyfais fy enaid yn ddirfawr. Ac o herwydd hynny.

Cyffesaf i *D*duw hollalluog, i fendigedig Fair forwyn bob amser, i fendigedig Fihangel Archangel, i fendigedig Joan Fedyddiwr, i'r sanctaidd Apostolion Petr a Phawl, ac i'r holl Sainct: ddarfod i mi bechu yn rhy fawr ar feddwl, gair, a gweithred, trwy fy mai, trwy fy mai, trwy fy nirfawr fai. Ymma

*Ymma holwch eich cydwybod yn fanwl, a chyffesswch eich pechodau igyd o feddwl, gair a gweithred neu o esgeulusder ac o omissiwn, ac yna dywedwch.*

MAe'n edifar iawn gennyf y pechodau hyn, a'm holl bechodau eraill, ac mae'n ddrwg gennyf o waelod fy-nghalon am bôb meddwl, gair, a gweithred, trwy'rhai yr anfodlonais dy Ogoniant di, ac y cymmhellais dy lid a'th ddigofaint yn fy erbyn: yn enwedig am fy anufydddod i gyfraith mor Sanctaidd; a'm hanniolchgarwch i Dduw mor ddaionus a thirion. Yr wyf yn cydnabod fyhûn, O Arglwydd yn annheilwng o'r trugaredd lleiaf, ac yn euog o'th farnedigaeth drymmaf oll: ond tydi a ddangosaist dyhûn yn Dduw o drugaredd a daioni, gan faddeu camweddau y rhai sy'n wîr-edifeiriol, ac yn rhyddhâu y sawl oll sy'n ewyllysgar yn barnu euhunain yn euog. Amhynny o galon gystuddlawn

a gwîr-edifeiriol yr wyf yn cyffesu i ti euogrwydd fy-nghydwybod, ac yn ostyngaidd yn offrwm i ti y gweddiau hyn N N yn benyd arnaf.

*Ymma dywedwch ryw weddiau, neu wnewch ryw benyd arall defosionol. yna dywedwch.*

O nd oblegid fôd fy annheilyngdod, a'm hanrryw feiau i yn fy attal rhag ymddiried yn yr hyn a wnelwyf fi'fyhûn, â bôd dy Drugaredd cyfoethog di wedi trefnu i ni nifer mawr o Gyfryngyddion eraill cymmeradwyach gennyti. Amhynny yr wyf yn dymuno ar fendigedig [Fair forwyn bob amser, ar fendigedig Fihangel Archangel, ar fendigedig Joan Fedyddiwr, ar y Sanctaidd] Apostolion Petr a Phawl, a'r holl Sainct weddio trosaf at ein Harglwydd Dduw.

Duw hollalluog a drugarhao wrthym ni, a chan faddeu i ni ein pechodeu,



## Am Faint a Gorthrymder anfeidrol Pechod Marwol, yn enwedic Sectariaeth.

*Discybl.* P*A vn o'r Pechodau Marwol hyn yw'r lleiaf?*

*Athro.* Nid oes vn Pechod Marwol yn fychan.

D. *Paham hynny?*

*A.* Oblegid fod pob Pechod Marwol yn dorriad ystyrlawn ac o wir fod rhyw vn o Orchymmynion Duw Hollalluog: yn droad oddiwrtho ef, ac yn ymlyniad wrth ryw Greadur, megis anrhydedd, cyfoeth, difyrrwch cnawdol, &c: yn wneuthur mwy am ryw Wagedd bydol nac am garu a bod yn vfudd iddo ef. Ac amhunny Dirmyg ydyw, a Diystyrwch anfeidrol o'r Mawredd Duwfawl, y Brâd pennaf neu'r Treson goruchaf yn erbyn Duw, ac yn ei anfodloni ef yn

 gym-

gymmaint a phe bai'r pechadur yn poeri ar ei Wyneb Dwyfawl ef. Canys mae S. *Paul* yn dywedyd yn eglur: *Fod y pechadur yn sathru Mab Duw tan ei draed*, ac nad yw ef yn gwneuthur dim cyfrif *o'r gwaed bendigedic a'r hwn y sancteiddiwyd ef.* Heb. 10. v. 29. A bod yr vn pechadur *yn croeshoelio iddo eihunn Mab Duw drachefn* ibid c. 6. v. 6. Wrth yr hyn y gwelir fod Pechod Marwol (hynny yw pechod yn lladd yr enaid) yn Ddrwg anfeidrol, ac yn haeddu cospedigaeth dost annhraethadwy tros fyth.

D. *Ond ydyw yn erbyn Daioni Duw, Cospi a phoenau erchyll anfeidrol ei greadur truan eihun?*

*A.* Nac ydyw ddim. Oblegid fod Duw wedi dangos ei Ddaioni anfeidrol i ddyn gan ; Ddarfod iddo ef greu dyn o Ddim, a'i wnenthur ef yn abl i fod yn gydymmaith i'r Angelion bendigedic, yn Etifedd teyrnas y Nef, a Mab dewis i Dduw, i feddiannu Gwynfyd tragywyddol ac anmhaetha-

rhaethadwy gydag ef yn y Paradwys Nefol: am hyn igyd heb fynnu dim gan ddyn, ond yn vnic tra barhao pererindod byrr y Byd hwn, wasanaethu o hono ei Greawdwr a bod yn ufydd iddo ef, gan ei garu ef yn fwy na'r Byd, y Cnawd a'r Cythraul. Nid ydyw Duw yn gorchymmyn dim caled, anhawdd, neu ammhosibl i ddyn megis hedeg yn yr awyr, cerdded ar hyd y mor, &c, nac ydyw ddim: ond yn vnic yr hyn a eill dyn ei wneuthur yn hawdd, sef ei garu a'i wasanaethu ef. Mae Duw yn canniadu i ddyn gymmeryd yn y byd hwn, gymmaint o anrhydedd, o gyfoeth, ac o ddifyrrwch ac a fynno, tra nas cymmero hynny, wrth fod yn anufydd iddo ef. Ac onis gwna dyn beth mor hawdd a bychan: ond yn y gwrthwyneb trwy ddirmyg annrhaethadwy dibrisio, a diystyru Duw mor ddaionus, pa i ysedd y cosp ef y dyn hwnnw yn dragywyddol?

D. *Ond peth creulon ac anghyfion yw cospi'r pechod yn dragywydd, yr hwn*

*( ) sgat-*

*(ysgatfydd) ni pharhaodd hwy nac vn awr?*

*A.* Nac ê ddim : Oblegid fod Mawredd Duw, yr hwn a ddigir trwy'r pechod, o Ardderchogrwydd a Braint anfeidrol : a bod malais neu ysceler der y pechod yn Ddrwg tragywyddol. Canys mae'r pechadur yn gwybod ymmlaen llaw, trwy oleuni naill ai Natur ai Gras, fod Duw wedi gwahardd iddo ef y peth a'r peth : ac os gwna ef hynny, y caiff ef ei gospi yn *D*ragywyddol : ac etto er hynny, fe a wna y peth hwnnw o'i wir fodd ac yn ystyrlawn yngwydd a gwybodaeth y Duw Mawr : gan geisio perswadio eihûn, nad yw Duw wedi gwahardd y peth mor ddirfawr; neu os yw hynny yn bod, o'r hyn lleiaf a caiff ef ddigon o amser wedi hynny i edifarhau am y pechod. Yr hyn hwnc o edifarhau, byth nis bwriadai ef ei wneuthur, pettai ef yn gwybod nas gallai Duw ei gospi ef. Ac amhynny mae Malais ei ewyllys ef, yn Ddrygedd a Malais tragywyddol, ac yn gan-

ganlynol yn haeddu cospedigaeth a dial Tragywyddol.

*D. Er bod Pechod Marwol yn haeddu cospedigaeth dragywyddol, oni eill fod, na chysp Duw y pechod mor greulon a hynny?*

*A.* Na eill ddim. Oblegid lle y mae cymmaint Daioni wedi ei gynnyg, ac heb fod yn wiw gan y pechadur ei dderbyn ef: ond yn y gwrthwyneb dirmygu a diystyru morddirfawr cymmaint Cymmwynaswr: mae'n rhaid i Gyfiawnder gymmeryd ei le; mae'n rhaid i Ordinhadau cyfion tragywyddol y Mowredd goruchaf gael eu cyflawni, *Yn y dydd pabynnac y bwyteych o'r ffrwyth gwabarddedic, gan farw ti y fyddi farw.* Gen. 2, 17. *Pwybynnac a bechodd i'm herbyn, hwnnw a ddileuaf o'm llyfr.* Ex. 32. 33. *Ni chaiff yr anghyfion etifeddu teyrnas Dduw.* 1 Cor. 6. 9. Mae'n rhaid yntau iddo ef farw yn Dragywyddol, yr hwn a wnelo bechod Marwol. Hawdd i ni feddwl, nad oedd y difyrrwch a gymmerodd *Adam*

wrth

wrth fwytta'r Afal gwaharddedic, yn fawr iawn, a darfod iddo fflattu ei-hunan gan ddywedyd, Os bwyttaf yr Afal hwn, yn ddiau ni chysp Duw fi mor greulon ac y mae ef wedi bygwth: pa gam mawr a wnaf iddo ef wrth hynny? Ond oes cant mwy o'r vnrhyw Afalau ar y pren hwn? Oni all ef greu mil o'r vnrhyw brenniau? A llawer mwy o resymmau tegaidd fel y rhain (yngwrthwyneb i Orchymmyn eglur *Duw*) ar y rhai gan hyderu a rhoi ei oglud, fe a bechodd gan dorri'r Gorchymmyn. Ac yn ddioed fe a gafu eihun yn Greadur damnedic yn Euog o lid a digofaint Duw yn dragywyddol. Ac er cael o hono ef y drugaredd, o gael amser i edifarhau, etto fe a orfu arno wneuthur penyd ymma ar y ddaear, mewn poenau amryw, dirfawr ofnau a doluriau, tros yspaid mwy na naw cant o flynyddoedd, ac wedi hynny igyd trwy ddiodef gwahanu ei enaid oddiwrth y corph marw, a chael troi ei gorph yn lludw brwnt: a'i holl eppil ddamnedig

dig a ddrochwyd igyd yn yr vn trallodau, ynghynmaint ac nad yw'r holl lafuriau, yr holl ddialedd, yr holl boenau, a'r clefefydon, a'r ofnau, a'r haint y nodau, a'r cywynnau, a'r bradau, a'r rebeliwnau, a'r rhyfeloedd, a'r colled gwaed, a'r marwolaethau, a'r Sectau, a'r Heresiau, a'r pechodau, a'r damnedigaethau, a'r tormentau Vffernol, &c. y rhai a ddigwyddasant ar ol hynny i'r Genhedlaeth ddynol, ond cospedigaeth gyfion am yr vn pechod hwnnw: ac oni buasai i Dduw eihunan ddyfod o'r Nef i wared ymma, a chymmeryd arno ein trueni ni oll, (onid pechod) i wneuthur cyflawn iawn am y pechod hwnnw, ni chawsai nac *Adam* eihûn nac vn o'i Hiliogaeth Ddamnedic ef byth weled wyneb Duw yn y Gwynfyd Nefol: ond hwy a gowsent ol (wedi myned trwy amryw gyfeiliornau a doluriau yn y bywyd hwn,) ei trochi ynghanol poenau annraethadwy y Tân Vffernol, gyda'r Angelion Reprysedic dros holl Dragywyddol

del

deb, hynny yw, tra y bo Duw yn Dduw. Er nad oedd y pechod hwnnw yntau, ond bwytta vn tammaid o Afal gwaharddedic, etto ni ellir dywedyd ei fod ef yn fychan, gan weled y Gospedigaeth amdano mor ddirfawr drom. Ac etto os ystyriwn ni y cwbl yn llwyr, hawdd yw, i ddyn feddwl, fod pechod *Adam* yn llai nac vn pechod marwol ar a wnaed ar ôl hynny. Oblegid beth a welir yn llai, na bwytta vn tammaid o Afal? Am hynny gan ddarfod cospi pechod a welir mor fychan a chospedigaethau mor anfeidrol. Beth sy raid i'r pechadur ei ddisgwyl, yr hwn a wnaeth amryw o anwireddau gorthrwm, ac a'i hadnewyddodd hwynt eilwaith ac eilwaith?

*D. Yr wyf i igyd yn dychrynnu wrth ystyried Cyfiawnder Duw, gyda'm haeddedigaethau fyhun: ond ni fedraf berswadio fyhun fod* Sectariaeth *yn bechod mawr, beth meddwch chwi?*

*A.* Yn ficcr, mae Duw eihun trwy enau'r Apostol yn dywedyd: *Fod y*

*sawl*

*sawl sy'n Hereticiaid, neu'n Sectariaid wedi eu subvertu neu'i gwyrdroi, ac yn pechu, ac yn damnio euhunain* Tit.3.11, Ac na chânt y sawl sy'n pechu felly *feddiannu teyrnas Dduw.* Gal.5.21. Ac mae rheswm eihûn yn dangos fod Sectariaeth yn vn o'r pechodau gorthrymmaf ac a wneir yn erbyn y Mawredd Duwsawl. Canys o herwydd fod y Sectarian wedi neilltuo eihûn oddiwrth wir Eglwys Dduw, ar yr hon y mae Christ yn Ben: ac o herwydd ei fod ef yn anufydd i'r vn Eglwys, am yr hon y dywedodd Christ: *Y neb ni wrendy yr Eglwys, bydded i ti megis yr Ethnic a'r Publican.* Math. 18. 17. (Ethnic yw'r hwn sy'n addoli ac yn credu yn y Duwiau ffeilsion, Publican yw'r hwn ni wna ddim pris nac o Dduw nac o Ddiawl, ond byw megis anifail, fel pe ni bai vn Duw i gospi'r drwg nac i obrwyo'r da;) ac o herwydd fod yr vn Sectarian yn credu yn gyndyn rhyw Athrawiaethau yn y gwrthwyneb i'r hyn a ddysc yr Eglwys Lân (yr hon yn ol adde-

addewid Christ *sydd a'r Yspryd Glan ganthi i'w chyfarwydde hi i bob gwirionedd* Jo. 16. 13. *ac i arhos gyda hi yn dragywyddol* Io. 13. 16.) Oherwydd y pethau hyn (meddaf) mae'n rhaid i'r sectarian fôd mewn Anffyddlondeb, mewn Annfydd-dod, ac mewn Rebeliwn yn erbyn Duw. Ac felly mewn modd gorthrwm anfeidrol, mae ef yn torri y Cyntaf a'r Pennaf o'r Deg Gorchymmynion, yr hwn sydd am anrhydeddu Duw. Heb law hynny, oherwydd fod Christ wrth son am anffyddlondeb yn gyffredinol, yn dywedyd: Y *bydd mwy goddefadwy, sef y bydd yn esmwythach yn Nydd y Farn i dir y Sodomitiaid a'r Gomorrheaid, nac i'r sawl ni dderbynniant ei Apostolion neu'i Ddiscyblion ef.* Mat. 10, 15. Hynny yw, ni chaiff y sawl y syddant yn euog o'r pechod cnawdol yn erbyn natur, (Gwyd mor ffiaidd ac atgas i'r Genhedlaeth ddynol, a bod y rhai a ddifernir yn euog o hono yn ôl Cyfreithiau pôb Natiwn Crêd, i'w dodi i farwolaeth heb ddim tur-

trugaredd, megis dynion annheilwng i fyw ar y ddaear,) gymmaint cyfran yn y *D*damnedigaeth Dragywyddol, a'r sawl ni dderbynniant Ddiscyblion a Dysceidiaeth Christ, sef yr Anffyddloniad yn gyffredinol. Pa faint mwy anesmwyth y fydd eu Damnedigaeth hwynt y rhai wedi derbyn Discyblion ac Athrawiaeth Christ vnwaith, ar ol hynny a'i dirmygasant hwynt yn anfeidrol, ac a'i gyrrasant ymmaith gan eu herlid hwynt hyd at angeu, a gwadu ei Athrawiaeth ef, pethon nad yw hynny ond mewn rhai o byncian?

D. *A wnaethom ni hynny? ond ein Tadau ni ers amgylch cant o flynyddoedd a neilltuasant euhun yn gyntaf oddiwrth yr Eglwys, a gredasant ac a ddyscasant y Sectiau newydd hyn y rhai yrwon yr ydym ni yn eu professu yn vnic wrth eu dilyn hwynt?*

*A.* Os chwychwi a'i dilynwch hwynt yn eu cyfeilorn a'i didro damnedic ac yn eu Rhebeliwn yn erbyn Duw gan barhâu yn hynny hyd y diwedd

diwedd, digon sicr y cewch chwi fod yngyfrannog o'i Trueni tragywyddol a'i Damnedigaeth hwynt.

D. *Nid wyfi yn medru cœlio fod pawb ac sydd o'n Sectiau newydd ni, allan o ras Duw, ac mewn stad Damnediggaeth. Ond ydym ni yn cadw yn buraidd y Dydd Sabbath? ond ydym ni yngochel tyngu a rhegi? ond ydym ni yn gyfion yn ein gweithredoedd tuag at ein cymmydogion? ond ydym ni yn gochel gwagedd dillad gwychion? ond ydym ni yn dda wrth y tlodion? ond ydym ni ar bob dydd yr Arglwydd yn ein dillad glan a goreu yn myned yn sanctaidd i'r Congregatiwnau cyhoedd yn gystal a'rhai dirgel i glywed yr hyn y mae'n Dyscawdwyr ni yn ei ddywedyd?*

*A*. Nid yw'r holl ddaioni morawl hyn yn ddim arwydd o'r Cresydd Christianogol, neu o'r vnic wir ffordd i Gadwedigaeth. Oblegid fod llawer o'r Anffyddloniaid yn ymarfer cymmaint, ie a mwy hefyd o rinweddau morawl na hyn igyd. Felly y gwnant

lla-

llaweroedd yn nheirnasoedd *China*, *Tunquin*, *Chili* a'r gwledydd maith eraill yn Indiaau y Dwyrain a'r Gorllewyn. Ond pa raid i ni hercyd esamplau cyn belled? Mae llawer o'r Turciaid sy'n trigo yngwydd y byd Christianogol, yn byw yn fwy morawl na'n Christianogion Refformedic ni. Gofynnwch i'r sawl y fuont yn *Argier*, *Tunis* a'r Glwledydd Mahometanaidd nessaf, a hwy a ddywedant i chwi, fod llaweroedd o'r Turciaid hynny heb nac arfer tyngu na thegi: a'i bod hwy yn casshâu anwir yn gymmaint ac os digwydd i ryw weinidoc vnwaith ddywedyd celwdd, hwy a yrrant ymmaith y dyn hwnnw a mwy ffieiddra, nac yr arferir casshau lladron a ffeloniaid erail yn y Wlad ymma; a'i bod hwy yn cyrchu i'w Moschoedd neu i'w Temlau, nid yn vnic vnwaith yn yr wythnos, ond teirgwaith bob dydd, ll wedi bwrw eu hunain ar eu hydgyhy ar y llawr, tros hir amser y bloeddian ac yr vdant eu gweddian yn ddifri

iawn

iawn: a'i bod hwy yn parchu eu Mosc-haidd Eglwysi hynny yn gymmaint, ac y cusanant yn anthyddeddus eu dwylo euhun wedi iddynt ond yn v-nic cyffwrdd a'r tu allan o'i gwelydd hwynt: ac os digwydd i neb o honynt sia ad neu ddywedyd vn gair prophan sef annuwiol yn yr Eglwysi neu yn eu monwentau, rhaid i hwnnw ddioddef marwolaeth heb ddim trugaredd: os rhyw vn o'r Puritanaidd Mahometanod hyn a genfydd ddyn dieithr mewn siopp marsiandwr (o Iuddew, Mawr, neu Gristion drwg) yn barod w dwyllo, ef a ddaw yn araf deg o'r u cefn iddo, ac a ddywed; y cyfaill r ydys yn dy fommi di ymma, dyre r siop nessaf, ac yno ti a gei yr vn hyw neges y fo cystal am hanner y pris yr wyti yn ei gynnyg ymma. wy o'r Christianogion Refformedic fydd mor fwynaidd i mi yn prynnu gidiau neu hossanau, mewn rhyw opp yn Abergefenni neu yn Gwrec-im? Mae llaweroedd hefyd o'r An-yddlonaiaid hyn o naturiaeth, tuedd,

dispoſitiwn caredic, tirion, mwyn, llawenaidd, difyr, hael, ffyddlon, honeſt, boneddigaidd &c, ac etto ni wna hyn oll hwynt yn eneidiau cadwedic.

D. *Ni wna? Ai rhaid i gyſtal dynion gail eu colli yn dragywyddol? paham nas gall pobl mor dda gael eu ſafio yn gyſtal a'r Chriſtianogion?*

*A.* Oblegid pettai hynny yn bod, ni chae Anffyddloniaid cyndyn a gwrthnyſig waeth rhan yn y Golledigaeth dragywyddol, na *Sodam* a *Gomorrha* y rhai yn ol eich barnedigaeth chwi eihûn, ſydd yn haeddu Damnedigaeth drom. Canys mae gan y Turciaid hyn wybodaeth digonol o Ieſu Chriſt, ac o'r angenrhaid ſydd o gredu ynddo ef: maent hwy beunydd yn gweled ymarfer y Crefydd Chriſtianogol yngwydd eu llygaid, yn gyſtal yn eu Gwledydd a'i Trefydd pennaf euhûn, ac ynghanol y partnau blodenoccaf o Ardalau Cred. Ond mae perchynaſſau bydol, rhydddid o gael mwy difyrrwch cnawdol;

gyda chyndynrwydd cythreulic eu hewyllys euhun wedi eu dallu hwynt yn hollawl: Hynny yw, maint hwy yn gwrando mwy ar y Byd, ar y Cnawd, ac ar y Cythraul, nac ar Ysprydd Duw yn eu galw hwynt i gredu yn Iesu Grist, fel y byddant yn gadwedic. Heblaw hyn, pe gallai y cyfryw Anffyddloniaid gael eu sasio: wrthynny ni fyddai rhaid i ni ein geni drachefn trwy Ddwfr a'r Ysprydd Glan, sef ein bedyddio: wrthynny nid oedd Ymgnawdoliaeth a Dioddefaint Christ yn angenrheidiol: wrthynny nid oedd Pregethiad yr Apostolion a'r Discyblion eraill ond yn ofer ac yn ddiffrwyth; a'r holl Wirioneddau eraill y mae'r Testament Newydd yn eu cynwys nid oeddent ddim arall ond celwyddau a gwagedd Yr hyn sy gymmaint Cabledd ac Enllib Blasphemaidd ac a all tafod dyn ei lafaru.

**D.** *Er bod Anffyddlondeb yn gymmaint pechod ac mor anfeidrol, beth yw hynny i nyni? er bod rhagoriaeth*

*rhyng-*

*rhyngom ni a'r Eglwys mewn rhai o bethau, ai Anffyddloniaid ydym ni, y rhai ydym yn credu yn-Chriſt, ae yn dywedyd bennydd y Gredo a Gweddi'r Arglwydd?*

*A.* Mae Chriſt ein Harglwydd (megis y dywedais o'r blaen) yn erchi i ni *gyfrif y Sawl ni wrandawant yr Eglwys*, (hynny yw, ni fyddant vfydd i Idi hi,) *megis yr Ethniciaid a'r Publicanod*: ac mae S. *Pawl* (fel y crybwyllais hefyd) yn datcan yn eglur, *na chaiff y rhai ſy'n arhos yn gyndyn mewn Sectiau neu Hereſiau fyth feddiannu teyrnas Dduw*: mai S, *Iacob* yntau yn ein ſiccrhâu ni, *fod y ſawl ſy'n pechu mewn vn pwnc, yn euog o'r cwbl*: Iac. 2. 10. Mae rheſwm hefyd yn dangos yr vn peth; Yn ddiau, yr hwn y fai yn credu y Dêg Gorchymmynion igyd ond vn, er eſampl y Chweched neu'r Seithfed, ac a ddywedai, Na fai ef nac yn credu, nac yn meddwl cadw y Gorchymmyn hwnnw, gan haeru a maentumio yn ddigywilydd, nad yw'r lleoedd hynny o'r

Scrythur Lân, sy'n dal allan y Gorchymmyn hwn, i'w dyall a'i deongl, megis y mae'r Escobion a'r *Doctori*on eraill(y rhai a gowsont eu Missiwn yn gyfreithlon oddiwrth *Successori*aid yr Apostolion yn olynol trwy Ddyfodiad liniawl,) yn eu datcan a'i hesponi hwynt : ond (megis y mae'r yspryd Priuat trwy ymweithiadau oddimewn yn ei addysgu ef) mewn ystyr a sens *Dirgeleddus*, ac nid am y cydiad naturiol rhwng mâb a merch, yr hwn sy gyfreithlon i ddynion yn gyffredin ymysc eu gilydd yn gystal ac i'r creaduriaid byw eraill : ac felly hefyd am gyfoeth a da bydol, &c. Yr hwn (meddaf) y fai yn dywedyd ac yn maentumio hyn oll yn daerllyd ac yn gyndyn, y fyddai yn ddyn cwbl Anffyddlon ac mewn stad *Damnedi*gaeth tragywyddol, megis hefyd y rhai oll a'i dilynent, neu a fasent o'i blaid ef, er cadw ohonynt yn ffyddlon y Gorchymmynion eraill igyd. Obllegid eu bod hwy, wrth anufuddhâu ac anghredu i Dduw yn y pwnc hwn,
yn

yn eiammharchu a'i ddirmygu ef yn
gymmaint, a phe baent hwy heb gre-
du ac vfuddhâu iddo yn y llaill oll.
Canys yr vn Duw daionus yw ef
wrth laſaru y pwnc hwn, ac wrth
laſaru y Gwirioneddau eraill oll. Er
nad ydynt hwy yn gweled Godineb a
lladrad ond pethau bychain, etto nid
ſelly y maent hwy yngwydd Duw.
Nid oedd *Adam* yn gweled ond mat-
ter bychan, bwytta vn tammaid o'r
Afal gwaharddedic: ond mae'r dia-
ledd ofnadwy a ddaeth arno ef a'i holl
Eppil am hynny, yn dangos yn llwyr,
maint a gorthrymder anſeidrol y pe-
chod hwnnw Yn yr vn modd y mae'r
Sectarian, yr hwn trwy gyndyn-
rwydd, ni ſyn gredu rhyw vn gwirio-
nedd a laſarodd neu a orchymmy-
nodd Chriſt, yn dibriſio ac yn am-
mharchu Duw, ac yn gynddrwg Ang-
hredadyn, a phe bai ef heb gredu ac
heb ufuddhâu iddo yn y llaill igyd. Ie
mae ef yn llawer gwaeth: canys o ba
faint mwy gwybodaeth, goleuni a
grâs a gafodd ef i gredu y Gwirione-

ddau eraill oll, mwy diescus o hynny ydyw ef, a gorthrymmach pechadur, am nad ydyw yn credu hwn hefyd.

D. *Pa beth? Os cadwn ni y Gorchymmynion yn y modd goreu y gallom, a bod yn edifeiriol pan ddigwyddo i ni trwy wendid eu torri hwynt a'dywedyd weithiau* Ein tâd ni &c. *a'r* Credo; *ai tybied yr ydych na dderbyn Duw ein Gweddiau, a'n sasioni?*

*A.* Nid trwy wendid yr ydych yn torri'r Gorchymmynion, pan y byddoch trwy'r dydd, trwy'r wythnos, trwy'r flwyddyn &c. o'ch gwir fodd yn arhos ac yn parhâu yn gyndyn mewn Sectariaeth, yr hwn (megis y dangosais) sy bechod gorthrwm anfeidrol yn erbyn y Cyntaf a'r Pennaf Gorchymmyn, sef am anrhydeddu Duw yn iawn neu fel y parodd ef: ac ni chaiff yn unic cyfryw ddynion, ddim gwobr gan Dduw, am yr Elusennau ac am y Gweithredoedd goreu a wnelonr, eithr hefyd mae eu Gweddiau hwynt, nid yn unic yn ang-

anghymmeradwy, ond hefyd *ynffiei-ddgas* (megis y mae'r Prophwyd yn dywedyd *Proverb* 28. 9.) ac *yn abomi-natiwn* yngwydd y Mawredd Duw-fawl.

**D.** ***Pa ddrwg ganlynny yw dywedyd, y geill pob vn fod yn safedic yn ei Ffydd ei hun?***

***A.*** **Yr vn drwg a dywedyd: mae Twyllwr, Crâf celwyddog, neu Impostor ffomgar yw Duw. Canys gan fod Duw yn dywedyd yn eglur,** ***y neb ni chredo a gondemnir,*** **Mar. 16. 16. A bod y neb ni wrandawo ar yr Eglwys, i'w** ***gyfrif megis yr Ethnic a'r Publi-can.*** Mat. 18. 17. Ac nad yw'r E-glwys hon ond vn: *Vn ydyw fyngh-lommen.* Cantic. 6. 8. Ac nad oes ond vn ffydd; *Vn Fydd, vn Bedydd, vn Duw.* Ephes. 4. 5. Ac nas gall nêb heb honno fod vn gymmeradwy gan Dduw: *Heb ffydd nid yw possibl i hyngu bodd i Dduw.* Heb. 11. 6. Ac na chaiff y *Sectarianod feddiannu Teyrnas Dduw.* Gal. 5. 21. Os er hyn oll, y geill y neb nid yw yn cre-

du rhyw rai o'r pethau a ddywedodd neu a orchymmynodd Christ: neu'r hwn ni syn wrando ar (hynny yw vsuddhâu i'r, a gadel ei reoli yn y pethau syn perthynu i'w enaid gan) yr Eglwys, yr hon sydd *Vn*, *Catholic*, a *Sanctaidd*: neu'r hwn sydd o ffydd amgenach na'r *Vn* honno, heb yr hon *nid yw possibl rhyngu bodd i Dduw*: neu yr hwn sydd yn *Sectarian* (hynny yw, wedi ei neilltuo oddiwrth yr Eglwys a'r Ffydd honno, trwy anusuddhau a thrwy gredu yn amgenach nac y mae hi;) os er hyn oll (meddaf) y geill y cyfryw ddyn fod yn safiedic: mae'n rhaid wrthynny i'r holl Adrođdion hyn ac i aneirif yn chwaneg yn y Scrythur Lan, fod yn hollawl ffeilsion, yn yn anwir, ac yn dwyllodrus, ac yn ganlynol, fod Duw (yr hwn yw Awdur y rheini oll) yn Gelwyddog, ac yn Dwyllwr. Dywedyd yr hyn, yw Cabledd dychrynnedic anfeidrol.

D. *Pa ddrwg yntau, yw perswadio a gyrru y sawl sy'n byw, megis pettent heb vn*

*vn Ffydd, i wneuthur profeſſiwn cyhoeddoryw* Ffydd, *ac nid marw megis anifeiliaid?*

*A.* Yr vn drwg a dywedyd: Oni fyddwch chwi o'r vnic wir Ffydd, heb yr hon nid yw poſsibl bodloni Duw, a'r hon ni ellwch chwi amgen na'i gwybod, (oddieithr fod cyndynrwydd Cythreulic o ewyllys yn eich rhwyſtro chwi,) oblegid fod Duw yn dywedyd: Mae Ffordd mor hawdd i'w gwybod ydyw: *ac nas cyfeiliornant ffoliaid oddiarni, Eſai.* 35. 8. O'r hyn lleiaſ byddwch o ryw ffydd yn y gwrthwyneb i honno: hynny yw, poerwch ar wyneb Duw, ſathrwch Fab Duw tan eich traed, gan gyfrif Gwaed y Teſtament Newydd megis peth llygredic, prophan, neu gyffredin, a thrwy hynny croeſhoeliwch Chriſt drachefn; ond yn y cyſamſer perſwadiwch eichûn (oblegid gan nad oes ond vn wîr Ffydd, nid yw'r llaill a elwir felly, ond perſwaſiwnau,) eich bod chwi trwy hynny yn anrhydeddu Duw, ac yn rhyngu bodd iddo

ef: ac felly byddwch o'i Ffydd ac o'i Crefydd hwynt Gweddiau ac Elusennau y rhai sydd yn *execrabl*, yn *ffieiddgas*, ac yn *abominatiwn* i'r Mawredd Duwfawl.

D. *Ai possibl, fod ein Dyscawdwyr ni, (y rhai mewn Cennpau ac mewn Pulpudau hefyd, ag wynebau sanctaidd sy'n llafaru cymmaint a'm rinwedd, gan fynych enwi* Duw *a* Christ *mor ddifrif,) yn y cyfamser yn digio Duw yn ddirfawr arthwynt, a bod yr holl Weddiau a ddywedant hwy yna, yn ffieiddgas ac yn execrabl gerbron Duw?*

*A.* Digon ficer ydyw, mae gwell yw mynd i ryw Dy Tafarn lle bo gweifion drwg, dihir a meddwon yn tyngu, yn rhegu, ac yn cablu Duw rhwng i bôb mesur, na myned i'r Congregatiwn Sectaraidd, lle y bo'r Dyscawdr Heretic yn cynghori rhinweddau moesawl i'r Gwrandawyr. Oblegid yn y cyfryw Dy Tafarn (megis y mae *Sr. Thomas* More yn dywedyd yn llwyr wir) nid oes neb yn

cal

cael mwy niweid, na'r sawl y so a meddwl dirras ac yn barod i ddrygioni: oblegid y rhai di eu tuedd gan ymgroesi eu hunain a ochelant y lle, trwy ofni y syrthia y Ty ar eu pennau: ond yn y Gongregatiwnau cyffelyb, nid oes neb yn barod i gael mwy niweid, na'r sawl sy a meddwl ac ewyllys da ganthynt, y rhai wrth glywed y Blaidd Sectaraidd mewn croen dafad o Don ac o Wynebpryd sanctaidd yn bresu addroddion morawl, gan fynych enwi yr *Arglwydd* a *Christ*, o'r diwedd hwy a berswadir (wedi eu bradu gan y Byd, a'r Cnawd, a'r Cythraul) fod yr Athrawiaeth a'r Proffession sectaraidd yn ddigon da: ac felly bob ychydic y diogelir hwynt yn eu cyfeiliorn damnedic a'i Rhebeliwn yn erbyn Duw. Ac am Weddiau y Sectariaid, os S. *Ioân Chrysostom* wrth son am ddyn yn euog o'r pechod marwol lleiaf, a ddywedodd yn hollawl wir, mai megis y cai y Bradwr erchyll, yr hwn y fai wedi murndrio Mab vnic y Brenin, yng-

wydd ei Dad llawn Ardderchawg, ac yn yman gan gôoi ei ddwylo wedi eu trochi igyd a'i lliwio yn-gwaed calon y Tywysog gwirion, i ddeisyf rhyw ffafor ar Fawredd y Brenin, megis (medd ef) y cai hwnnw ei wrando a'i ystyr gan y Brenin, sef a Digosaint ac a Llid creulon annrhaethadwy: felly yn yr vn modd y derbyn Duw ac yr ystyria yntau Weddiau y pechadur anedifeiriol: pa faint mwy y gellir dywedyd, fod Gweddiau y Sectariaid (y rhai o'i gwir fodd sy trwy'r dydd yn torri y Gorchymmyn pennaf oll, sef o anrhydeddu Duw,) yn ffiaidd ac yn gas anfeidrol i'r Mawredd Nefawl? Ac amhynny y mae pob Christion Catholic yn gochelyd ac yn ffieiddio cymmuno neu fod yn gyfrannog mewn Gweddiau a'r Sectariaid; yn gymmaint ac nad ant i'w Congregationau hwynt vn amser, ac mewn modd yn byd ni adawant i'r Sectariaid fod yn bresennol ar eu Gweddiau a'i sacraidd Offrymmau hwynt; nid ydynt chwaith yn cyfrif

vn lle yn fwy prophân, nac yn llai sanctaidd na'r Eglwysi a'r Capelau sy wedi eu halogi a'i gwasanaeth Sectaraidd hwynt. Ond nid yw'r Sectarianod o amryw Sectau, (er eu bôd hwynt yn cyhuddo y nail y llall yn euog o amryfusedddau damnedic,) yn gwneuthur dim Scrupul o gydweddio, nac o fôd yn gyfrannog y naill o Rithiau Sacraidd y llall. Yr hyn sy ddigon o arwydd nad ydynt hwy o'r wîr Ffydd, yr hon bôb amser oedd yn dyscu i'w Phlant, ochelyd cymmuno a Sectaraiaid. *Deu.* 13. 1. *Rom.* 16. 17. *Tit.* 3. 10. *Jo.* 2. 10. *&c.* Heb law hyn, mae malis neu ddrygedd Sectariaeth, o herwydd ei hirbarhâu, yn waeth o lawer ac yn orthrymmach na malais pechodau marwol eraill: Canys y thai sy'n torri'r Sabbath, yn tyngu anudon, yn murndrio, yn godinebu, yn lladratta, *&c.* nid ydynt hwy bôb amser yn gwneuthur y Troseddau hyn: ond yn fynych cyn pen wythnos neu ddiwrnod, ië weithiau

cy

cyn pen awr hwy y fyddant yn llwyr edifeiriol; a'r pryd hynny gan fwyiadu o ddifrif, mewn amser cyfaddas wneuthur y *Satisfactiwn* y mae Duw yn ei fynnu ar eu dwylo hwynt hwy a allant ddychwelyd yn y man i stad Gras, yn y modd ac y bo eu gweithredoedd rhinweddol hwynt yn canlyn, trwy ryglyddiannau Christ, yn gymmeradwy i Dduw, ac yn obrwyol yn y Nêf. Ond mae'r Sectariad neu'r Heretic yn wastad yn parhau yn ei bechod: hynny yw, trwy'r dydd igyd, trwy'r wythnos igyd, trwy'r mîs igyd, trwy'r flwyddyn igyd, &c. oblegid pe bai yn amgenach, fe a ddangosai ei edifeirwch, gan geisio cymmodi a'i ymgyssylltu drachefn a'r wîr Eglwys: yr hyn beth o ran nad ydyw yn ei wneuthur, mae ef byth ymmhob gweithred a munud o'i fywyd megys yn poeri ar wyneb Duw, yn athru ar waed Christ, ac yn croeshoelio ein Iachawdwr Jesu yn ddibaidd.

*D. Wrth hyn fe dybygid, fod Sectariaeth*

*riaeth yn gymmaint pechod ac Idoliaeth. Pa beth ai rhaid i mi gredu, fod y sawl sy'n proffessu rhyw Sect o'r Crefydd Christianogol, cyn belled mewn stad Damnadigaeth, a'rhai sydd yn addoli'r gau Dduwian?*

*A.* Os credwch chwi i Ghrist, mae'n rhaid i chwi gredu hefyd, y dylai pôb vn ac sydd yn gyndyd yn anufydd i'w Eglwys ef, *fod i chwychwi megis y Pagan a'r Publican*, Math. 18.17. Oni chredwch chwi i'n Jachawdr bendigedig yn dywedyd hynny pa fodd y mynnwch chwi i mi eich cyfrif chwi yn Gristion? Ond os ydyw hwnnw, yr hwn yn vnic sydd yn anufydd i wir Eglwys Dduw, (er ei fôd ef yn credu yn llywr, ac yn proffessu yn ddifrifol holl byncïau neu articlau eraill y Crefydd Christianogol, etto o ran eisiau cariad perffaith tuac at Dduw, wrth fôd yn ufydd i'w Eglwys ef) yw gyfrif yn yr vn stad o ddamnedigaeth a'r Idolwyr, megis y gwelwch Christ eihunan yn dywedyd ymma yn eglur:

pa

pa beth a ddywedwn ni am y nêb, nid yn unic ni synn wrando ar yr Eglwys, gan fôd yn usydd iddi yn ei fuchedd, ond hefyd sy'n byw mewn Sectarism neu Heresi, ac yn proffessu hynny yn gyhoedd yr hwn bechod yw'r gorthrymmaf math o ANFFYDDLONRWYDD, yn cynnwys ynddo * eihûn gynnifer o bechodau eraill tra ffieiddgas megis, Dibris, a Dirmyg am y Sacramentau, Gwatwor a Gwawdio y gwîr Grefydd. Halogi pethau cyssegredic, Cas a Erlid y wîr Ffydd, Anufydd-dod i'r Eglwys a'i Phreladiaid cyfreithlon, Sacrilegau, Balchder, Cyndynrwydd mewn pechod, Rebeliwn yn erbyn pennaf Swyddogiôn Duw, Gwrthddywedyd y gwirionedd gwybodedic &c. Ni a ddarllennwn yn llawer man o'r Scrythur Lan, mor ddirfawr yr oedd Duw yn digio wrth Blant Israel, am eu bôd hwynt (gan adael a gwrthod y modd yr oedd Duw, a'i was ef

* *Vid. charity mistaken, pag.* 107. *ex Lessio de Capesc. Relig.*

*Moses*

*Moses* wedi ei appwyntu iddynt hwy o'i wasauaethu ef) yn addoli y gau Dduwiau a'r Idolau. Ac etto nid oedd pechodau hynny yr Juddewon ond Cynlluniau a gwîr Ffigurau o bechodau y cyfryw Gristianogion, ac wrth adael a gwrthod y wîr Ffydd, sy'n credu ac yn proffessu dysceidiaethau ffeilsion: megis yr oedd yr Jdolau a anrhydeddid gan yr Juddewon hynny yn wîr Ffigurau a Rhag-arwyddion o'r amryw Sectau, a'r Schismau, a'r Heresiau sydd ynawr ymmysc y Chrigianogion. Meddyliwch chwithau ynoch eich hûn, mor ddirfawr a gorthrwm oedd pechod hwnnw yr Juddewon, y rhai (gan adael gwasanaeth y gwîr Dduw, a'r sacraidd Rithiau, a'r ffyrdd, a'r moddion yr oedd *Moses* (gan ei gyfoi wydde gan *D*duw) wedi eu happwyntu iddynt hwy yn ei Addoliant ef, trwy gredu a dilyn. Prophwydi ffeilsion) oeddent yn mynedi i addoli yr Idolau *Baal*, ac *Astaroth*, a *Belzebwb*, a *Chamos*,

a

a *Dagon*, a *Baalim*, a *Moloch* &c. A byddwch yn llawn ſiccer, nad pechod llai gorthrwm yw i'r Chriſtianogion, gan adael y wîr Ffydd (yr hon nid yw ond Vn yn vnic) a'r Dyſceidiaethau, a'r Sacramentau, a'r Rhithiau, a'r moddion a'r ffydd a appwyntwyd iddynt gan Jeſu Chriſt, a chan ei Eglwys ef (yr hon y mae'r Yſpryd Glân bôb amſer yn ei chyfarwyddo) yn ei waſanaeth ef, wrth gredu a dilyn gau Ddoctorion (y rhai a llygredigaethau cablus, ac a ffeilſion eſponiadau o'r Scrythur Lân, gan eu cynnal hwynt ag awdurdod ac a nerth poenol a gwaedlye Gyfreithiau Tywyſogion a Stadau bydol yn ſeffyll allan, ac yn erbyn y wir Eglwys oherwydd achoſion y cnawd a'r byd, ſydd yn eu blaenu ac yn eu tywyſo hwynt,) ſôd yn proffeſſu *Arianiſm*, *Pelagianiſm*, *Calviniſm*, *Janſeniſm*, neu ryw Sect arall, neu'r Hereſi pabynnac ymmyſc y Chriſtianogion, megis Sect yr *Anabaptiſtiaid*, y *Wiclefiaid*, y *Quackeri-*

*Quackeriaid, &c.* Er bod y Sectariaid hyn gyda'i dysceidiaethau ffeilsion yn credu llawer byd o'r Ffydd Ghristianogol, megis yr oed yr Iuddewon Idolatraidd hynny, yn credu ac yn proffessu lawer o Gyfraith *Moses*, ynghanol eu gwaith o addoli y Duwiau ffeilsion a'r Idolau hynny. Ac megis yr oedd yn annuwioldeb creulon, ac yn Scelerder ffieiddgas yn yr Iuddewon hynny, peri lladd ac aberthu trwy dan, eu plant bychain i'r Idol *Moloch* (3 Reg. 23. 10.) yn y dyffryn *Ennon*, a elwir wrth enw arall *Tophet* (yr hyn sy'n arwyddoccau Drwmm) oblegid eu bod hwynt yno yn arfer curo tabyrddau, tympanau a drymmau, rhag i'r tadau a'r mammau glywed llefain a leisiau galarus eu plant gwirion yn dioddef eu murdrio, ac felly trugarhau arnynt yn meirw yn y Tan: Felly nid gronyn llai na hynny, yw pechod y Christianogion y rhai sy'n peri, neu'n gadael i'w plant, i'w ceraint, i'w

caredigion

caredigion, i'w gweinidogion neu i rai eraill pa fodd bynnac yn perthyn iddynt hwy (a hwythau yn gallu trwy addysc, trwy gyngor, trwy berswasiwn neu trwy'r moddion eraill pabynnac, eu cadw yn, neu'i tynnu hwynt i'r gwirionedd) fod yn credu, neu'n proffessu rhyw Sect, neu Heresi pabynnag, gwrthwyneb i'r Vn ynic iawn, a'r wir Ffydd Gristianogol: ië mae pechod hwn y Christianogion Heretic hyn, tuhwnt i bod mesur, yn fwy gorthrwn na phechod yr Juddewon Idolatraidd hynny: yn gystal oblegid nad oedd yr Juddewon hynny, ond yn difeddu eu plant (y rhai oeddent eisoes trwy'r Ceremoniau Mosaic, wedi cael eu harwyddo i dragywyddol Jachawdwriaeth) o fywyd amserol a darfodedig yn y byd ymma; lle y mae'r Christianogion hyn yn cydweithio i ddifeddu eu rhai hwynt o'r dedwyddwch ac o'r bywyd a bery byth: ac hefyd oblegid fod y Christianogion hyn wedi cael anfeidrol mwy o Wybo-

Wybodaeth a Goleuni, a Ffafor, a Help, a Gras, ac Anrhydedd, a Daioni, a Bendithion eraill gan Dduw, nac oedd yr Juddewon.

D. *Wele, os pechod mor anfeidrol ddirfawr yw Sectarieth, myfi a obeithiaf nad wyfi ddim yn Sectarian, ac a bersiwadiaf fyhun fy mod i o'r wir Ffydd. Oni fydd hynny yn ddigon?*

*A.* Na fydd: Oblegid ddarfod i *Adam* hefyd, cyn iddo fwytta'r Afal gwaharddedic, berswadio eihunan (er bod hynny yngwrthwyneb i eglur adrodiad Duw) na fyddai fawr niweid, bwytta peth ohono: a'r rheini igyd y rhai sydd ynawr yn ddamnedic ynghanol poenau Vffern, cyn iddynt wnethur y pechodau am y rhai y collwyd hywnt, a berswadiasant ehunain yn yr vn modd neu a obeithiasant cael digon o amser i ediferhau amdanynt cyn marw: ond eu Rhyfyg a'i Presumptiwn hwynt ar hynny a'i bwriodd hwynt bendramwnwgl i'r Damnedigaeth tragywyddol. Yn y neges hwn o gredu

yn

yn Nεw, nid digon yw gobethio neu berswadio o ddyn ejhunan, ond mae'n rhaid iddo fod yn llawn siccr a certain ei fod ef o'r wir Ffydd ac yn credu yn iawn, ie cyn ficcred ac y mae ef o fiwr'r dydd. Canys yn ol Dywediad y Tadau o'r Brif Eglwys. *Dubius in Fide, Infideli pejor est.* hynny yw, yr Ammheus yn ei Ffydd, fy waeth na'r Anghredadyn. Ac amdanoch chwi, mae'ch Cydwybod eichun yn dywedyd i chwi, trwy'r hyn o glywsoch chwi am y gwir Grefydd Christianogol, trwy'r ymgyffroadau oddimewn i chwi wrth gydymarwedd a'r sawl sy'n proffessu y Crefydd hwnw; trwy'r hyn a ddywedodd ac a ddioddefodd aneirif o honynt hwy o herwydd eu Cydwybod: trwy Ogoniant disglair rhyfeddol yr vnrhyw Grefydd wedi ei danu ar led tros bod Natiwn ar wyneb yr holl Ddaear, megis *Dinas* wedi ei gosod *ar ben mynydd*, neu megis *Canwyll* nid wedi ei dodi tan *lestr*, ond mewn

man

man amlwg, lle y gallo pob vn. (yr hwn ni chauo eu lygaid o waith goddau neu o wir bwrpas ) ei gweled hi : trwy Sancteiddrwydd ei Athrawiaeth, os edrychir arno a golwg ammhleidiol : trwy y modd godidog o fuchedd Sancteiddlawn amryw o Broffeſſoriaid yr vn Creſydd, ymmhob Oes er y dechreuad, ac yn hon hefyd ymmhob cornel o'r Byd : trwy Vndeb rhyfeddol Treſn llywodraethus a Dyſceidiaeth yr vnrhyw Greſydd, ymmyſc cynniſer o Natiwnau o duedd a diſpoſitiwn llwyr gwrthwynebol i'w gilydd : trwy ffalſedd y Celwydau a'r Calumniau a ſwriaſant yn ddigywilydd y gwyr o'ch Sectiau Newydd chwi ar y Crefydd hwnnw a'i broffeſſoriad ( rhan o'rhai a darfu i chwi eichun eu cael yn llwyr anwir, a hawdd y fyddai i chwi wybod malais a ſlander y llaill, pe bai perthynaſau bydol, a chyndynrwydd ewyllys yn gadel i chwi, wrth ymddiddan a rhyw ddyn gwy-

bodus

bodus o'r Crefydd hwnnw, eu holi hwynt a meddwl difrifol o wasanaethu Duw yn iawn ac felly bod yn gadwedic: ) trwy y modd y dechreuasent eich Sectiau Newydd chwi: twy'r Motifau a wnaeth i'r Carn-Sectariaid ar y cyntaf neilltuo euhunain oddiwrth y wir Eglwys: trwy y rhain, a thrwy aneirif mwy o Resymmau, Goleuadau ac Argumentau eraill, y rhai y mae Yspryd Duw o amser i amser yn eu cofia a'i dangos i chwi, (er bod pethau bydol yn peri i chwi wrthsefyll y cyfryw Ymysprydoliaethau) mae eich Cydwybod chwi eichûn (meddai) yn dywedyd i chwi, fod digon o achos gennych i *Ammeu* Gwirionedd eich Sect: ac yn ganlynol yr ydych chwi yn rhwymedic tan Boen *Damnedigaeth Dragywyddol* i geisio gwybod y Gwirionedd; heb fod byth yn foddlon na gorphwys, nes cael gwybod yn ficcr ac yn lwyr çertain heb dim fuglo na boncian meddwl,

eich

eich bod chwi yn y wir Ffydd a'r ffordd i Gadwedigaeth.

D. *Paham y mae'n rhaid i mi gymmeryd arnaf gymmaint trwbl a hynny? neu geiſio bod yn gallach na'm Tad, a'r llaill oll o'm Crefydd.*

*A.* Oblegid bod eich Damnedigaeth neu'ch Cadwediaeth chwi, yn deirydd yn fwy i chwi nac i neb arall: a bod y matter o bwys a maint anfeidrol ac anniben. *Pa les a wna i ddyn ynnill yr holl fyd a cholli ei enaid eihun?* Medd ein Jachawdwr bendigedic, Math. 16. 26. Mae'r byd hwn yn myned heibio megys cyſgod. Nid yw ynawr yr vgain neu'r deigain mlynedd a ddarfu i chwi eiſoes, ond megis y breuddwyd y ſu neithiwyr, a'r hyn oll ſy etto i ddyfod a ymddengys i chwi yn yr vn modd, pan ddelo awr angeu, yr hon ſydd yn nes i chwi, nac yr ydych chwi yn meddwl. Ple mae yrwon y rheini oll, y rhai oeddent yn byw ers

deucant

deucant neu drichant o flynyddoedd, le yr ydych chwi ynawr? Nid oes neb ysgatfydd a wyr eu henwau hwynt yrwon: etto yr oeddent hwy y pryd hynny yn enwog ac yn heinif, yn lan ac yn weddaidd, yn gyfoethog ac yn synhwyrol, yn llawn o lawenydd a difyrrwch, ac yn meistroli yn eu Plwy: ac ynawr nid oes neb ar y ddaear yn meddwl amdanynt hwy: ond eu heneidiau truain hwy (oddieithr iddynt gymmeryd peth gofal am wasanaethu Duw yn jawn) yn oll eu gweithredoedd, ydynt ynghanol poenau dibaid y Tan Vffernol. Pettwn i yn dywedyd i chwi, fod rhyw ffordd sicer a certain trwy'r hon y gallech chwi ddyfod i gael deng mil o bunnau bob blwyddyn, a Modd çertain trwy'r hwn y gallech chwi eu meddiannu hwynt tros ganr o flynyddoedd a mwy, heb ddim ofn angeu, na dim perygl o glefyd, na dim gofyd arall daearol, onisyddech chwi fodlon i gymme-

iyd

ryd peth poen i ddyscu a gwybod y Ffordd neu'r Modd hwnnw?

D. *Byddwn yn siccr: pam na fyddwn i yn fodlon i fyned cyn belled a* Llundain Paris, *neu* Rufain *eihunan, ie yn droednoeth hefyd, er mwyn cael cymmaint dedwyddwch?*

*A.* Ac er gwybod ficcreiddrwydd y ffordd i'r Gwynfyd tragywyddol, ni fynnwch chwi fyned ychydic o ffordd, i ymgynghori a gwir Gristion a allai eich cyfarwyddo chwi; nac yn eich ystafell darllain ynddyfal vn llyfran, a ddichon hyfforddi eich Cydwybod ammheus, o'r Gwirionedd; na gweddio chwaith yn daer ar Dduw eich goleuo chwi &c. Ond arwydd eglur yw hyn, eich bôd chwi yn caru'r Byd hwn yn fwy na Dduw. Gan na fynnwch chwi gymmeryd tippyn o boen i wybod yr vnic wir ffordd o fodloni a gwasanaethu Duw yn iawn?

D. *Pa fodd y gallwn i, yr hwn wyf yn annyscedic ac yn anlythyrennoc, chwilio a holi y Controversiau a'r Ymrafalion*

*rafaelion oll ynghylch Ffydd, i gael gwybod y Gwirionedd?*

*A.* Nid ydys yn mynny dim o'r tasg hwnnw ar eich dwylo chwi. Mae'r ffordd sydd i chwi i'w cheisio yn rhwydd ac yn amlwg. *Ni chyfeiliornant y rhai ffol ar hyd-ddi*, Isai. 35. 8. Hynny yw, y rhai symlaf a lleiaf eu dysc, os byddant yn ollyngedic gan geisio Duw o ddifrif, a allant yn hawdd ei gweled hi a'i gwybod.

D. *Pa gyngor neu gyfarwyddiad a roddwch chwi i mi, oherwydd fy mod i o ddifrif, yn ewyllysio gwybod y wir Ffordd i iachawdwriaeth?*

*A*, Yn gyntaf, mae'n rhaid i chwi gymmeryd ynbell awr oddiwrth eich difyr-chwareuon a'ch trafferthau bydol eraill, i feddwl am y Neges er mwyn yr hwn y creodd Duw chwi, hynny yw, am ei wasanaethu ef, a thrwy hynny bod yn gadwedic yn dragywyddol. Yn ail, gan neillduo eichunan oddiwrth bawb eraill a bod wrthoch eichun

yn

yn vnic tros hynny o amser, gweddiwch ar Dduw a gostyngeiddrydd hollawl calon ac enaid, gan ddymuno arno roddi Grâs a Goleuni i chwi i weled y wir Ffordd. Gwnewch hyn o ddifrif, tan ollwng dagrau hefyd os bydd possibl; ac er gwneuthur hyn yn well, ni fydd anfuddiol ymprydio diwrnod neu ddau, ie ar fara a dwfr yn unic, (o herwydd fod Teyrnas y Nêf yn haeddu mwy na hynny) a thros ymbell oriau beunydd gwisgo crys neu wregys llydan o rawn yn nessaf at eich corph: oherwydd ddarfod i'r Prophwyd *Daniel*, ac i laweroedd eraill o weision Duw, er cael gwybod ei ewyllys nefawl ef, farwolaethu a gofidio eu cyrph yn fwy na hynny, *Dan.* 9. 3. *Psalm.* 34. 13. & *Psalm.* 68. 12. *Paral.* 21. 16. *Gen.* 37. 34. *&c.* Ac mae miloedd o wir bobl Dduw ymmhob cornel o'r byd, oherwydd hyn a'r cyfryw achosion, ar y dydhwn heddyw, yn arfer mwy sarrugrwydd a gerwinder

corphorol, mewn dillad, lluniaeth, a gorphwys nac yw hyn igyd: er darfod eu maethu a'i magu hwynt yn eu hieuengdid ynghanol pob mwythau, ac eſmwythdra ſidanol, gan eu geni hwynt yn blant i Arglwyddi arddercoccaf, Ieirll, Twyſogion a Monarchiaid Cred. difyrrwch a gogoniant yr hyn ſtadau, wedi eu goreuro ag Addurnadau tra rhagorol perffeithlawn o ſynwyr, dyſceidiaeth, pryd a gwedd &c. a wrthodaſant hwy yn hollawl o'i gwir fodd er cariad ar Dduw, ac er mwyn dilyn yn hynny a dynwared ein Jachawdwr bendigedic, *yr hwn pan oedd yn fform a gwedd Duw*, yn Gydradd a'i Dad Tragywyddol, a gymmerodd arno *fform neu dull gwas*, Phil. 2. 7. i roi eſamplau i ni o Oſtyngeiddrwydd, o Llaryeidd-dra, o Dlodi ewyllyſgar, Ddioddef cam a dirmyg, o Sarrugrwydd corphorol, &c. *fel y gwnelem ninnau megis y gwnaeth yntau i ni*, Jo. 13. 15.

A rhoi peth eluſen er mwyn Duw, (oher-

(oherwydd *trwy elusen y glanheir y cwbl*, ac *y ceir maddeuant am bechodau*, Luc. 11. 41. Eccles. 3. 33.) ond hyn oll a ddylid ei wneuthur yn y modd ac na bo neb yn gwybod, ond Duw a'ch Cydwybod eichun, rhag ofn balchder ysprydol, yr hwn sy waeth na dim. Yn drydydd, gwnewch Resolutiwn a bryd cadarn a diogel, na chaffo dim perthynas bydol o gyfoeth, o anrhydedd, o ddifyrrwch, o serch tuag at wraig neu wr, tuag blant neu rieni, o gariad tuag at gyfaill neu o gas i elyn, o rydd-ddid neu gaethiwed, o iechyd neu glefyd, o fyw neu farw, na dim achos arall daearol eich rhwystro chwi i angofleidio y wir Ffydd o wasanaethu Duw wedi cael ohonoch unwaith ei gwybod hi. Yn bedwerydd, gan gofio fod terfyn eich bywyd, ac awr eich angau yn ancertain iawn o ran yr amser, y man a'r modd ohono ac y geill hynny happio i chwi yn gynt o lawr nac yr ydych chwi yn meddwl, ystyriwch

riwch wrthoch eichun yr amryw Resymmau, y Goleuadau, a'r Motivau, y rhai trwy'r moddion a grybwyllwyd vchod, a ddarfu i Dduw eu cofia a'i dangos i chwi o amgofleidio y gwir Grefydd Christianogol, ac o ymwrthod a'ch Sect Newydd eichun. Yn bummed, gan feddwl megis pe bai eich enaid ynawr hyn wedi ei diosg o'r corph a'i dippio i fynu, a'i osod o flaen Tribunal Duw i dderbyn barnedigaeth ynol eich gweithredoedd yn ei wasanaethu ac yn ufuddhau iddo ef ymma ar y ddaear; ystyriwch eichun, pa Ffordd neu Grefydd yn ei wasanaethu ef, a ddymunech chwi y pryd hynny, gymmeryd ohonoch yrwön: A dibennwch yn llawn siccr, mai honno yw'r vnic wir ffordd i Jachawdwriath ac i'r Gwynfyd tragywyddol.

D. *Pa beth! ai ni ddywedwch chwi i mi yn fwy neilltuol y Ffordd honno a'r Ffydd, yn yr hon yn unic y gellir cael Iachawdwriaeth?*

*A.* Na wna: oherwydd fy mod yn meddwl, y bydd mwy buddiol i chwi, wrando ar leferydd Duw eihunan oddimewn i chwi, a bod yn ufydd iddo ef yn dangos i chwi yn llwyr eglur y Gwirionedd hwn. Ond os mynnwch chwi hefyd glywed dyn a yfprydoliaethwyd gan Dduw, megis gwr yn byw yn y Prif amferoedd yn y mann arol yr Apoftolion, Gwrandewch yr hyn a ddywedodd yr Hen a'r Hynod *Vincentius Lirinensis* yn y Traethawd Euraid a fcrifennodd ef yn erbyn Newyddiadau mewn Ffydd ac yn erbyn Sectariaid, (yr hwn lyfr a brifiwyd ac a anrhydeddwyd yn fawr iawn gan yr holl wir Griftianogion ers blwyddyn ein Harglwydd 440. yn yr hon yr oedd ef yn byw) lle y mae ef wrth ddatcan y dyn gwir Gatholic, (yr hwn fy'n cadw eihunan oddifewn ufydd-dod yr Eglwys Gyffredinol, yr hon a ddifcynnodd trwy Snccesfiwn Efcobion yn olynol oddiwrth Chrift a'i

Apostolion) yn dywedyd, mai hwnnw yw ef; "Yr hwn sy'n caru yr
"Eglwys sef Corph dirgeleddus
"Iesu Christ yn gymmaint, ac nad
"yw ef yn gosod dim o flaen ei ha-
"thrawiaeth Catholic Cyffredinol
"hi: yr hwn nid yw yn prisio nac
"awdurdod, na chariad, na synwyr,
"na chymmendod, na gweniaith vn
"dyn neillduol yn fwy, nac yn dal
"wrth ddim rhesymmau naturiol,
"nac unrhyw o ragrith Scrythurau
"yn erbyn yr hyn yr oedd pob dyn
"yn ei gredu o'r blaen: yr hwn sy'n
"dilyn Cyffredinoldeb, Heneiddr-
"wydd, a Chyflondeb yn ei gre-
"duniaeth: ac yn sefyll yn ddiogel
"ddiysgog ar y Ffydd honno, yr
"hon a ddaliwyd o amser i amser,
"ymmhob mann, ymmhob tym-
"mer, gan bawb neu gan y rhan fwyaf
"o Escobion, o Offeiriaid, ac o
"Ddiaconiaid Christianoldeb. *Vi-
cent. Lirin. Lib. contra Hæres. c. 3.*
Neu chwi ellwch wrando ar y *Do-
ctor* Mawr S. *Augustin* (yr hwn oedd
yn

yn byw yn y flwyddyn 420. arol geni Christ) yn dywedyd, mai efe sydd yn yr Vnion a'r Vnic wir Ffydd a'r Ffordd i Jachawdwriaeth; "Yr "hwn sydd oddifrif yn dilyn yr "Eglwys Gyffredinol, yr hon a gafodd ei dechreuad trwy ddyfod y "Cenhedloedd iddi, a gafodd awdurdod trwy Ryfeddodau a Gwyrthiau, a chwanegwyd twy gariad "perffaith, a gadarnhawyd trwy "hirbarhau; yr hon sy ganthi Succeffiwn o Escobion yn olynol oddiwrth Gadair *Petr* hyd ein hamser ni: yr hon y adweinir yn y "Byd wrth yr enw CATHOLIC, "nid yn unic gan ei chyfeillion eihun, ond hefyd gan ei gelyuion: "oblegid fod yr Hereticiaid euhunain yn eu hadrodd cyffredin, yn "ei galw hi felly, gan nad oes ganthynt hwy ddim enwau eraill, i "wahanu euhunain a'i Canlyniaid "oddiwrthi hi, ond trwy alw euhunain yn *Refformwyr*, *Llewyrchion*, "*Brodyr-pur*, a'r cyfryw enwau eraill

 sy

" ſy wahanol oddiwrth y Catholi-
" gion. *Auguſt. Epiſt. contr. Manach.* c. 4. & lib. *de vera Relig.* c. 7.

D. *Wrth ba arwydd y caſi wybod, ddarſod i mi wneuthur dewis iawn a gwir?*

A. Os ar ol hynny, y digwydd i chwi etto fod yn ançertain, yn ammheus, ac mewn cyfyngder blin a dyryſni meddwl (oddieithr i hynny fod trwy gymmell y Cythraul, o'r hyn beth y mae'n rhaid i chwi gymmeryd cyngor gan ryw ddyn gwir Catholic a dyſcedic) mae hynny yn arwydd, na ddarfu i chwi ddilyn y Cynghorion ymma, ond bod perthynaſau bydol o darfodedic wedi eich gogwyddo chwi, yn trechu ac yn meiſtroli arnoch, ac felly eich bod chwi fyth yn perhau yn eich cyfeiliorn.

D. *Beth os cymmeraf y cyngor hwn, gan ddewis a ddilyn y wir Ffordd?*

A. Os gwnewch-i hynny, trwy gadw hefydd y Gorchymmynion e-

raill

raill (oblegid nad yw *Credunniaeth* ond peth gwag ac ofer heb *Gariad-perffaith*, 1 Cor. 13. 2.) chwi a gewch gyssur a diddanwch mawr yn y bywyd hwn (nid wyf yn dywedyd y bydd i chwi lwyddiant bydol bob amser, o ran na bu hynny, i'r Apostolion euhunain, nac i anwylsion pennaf Duw) ac wedi hynny, chwi a gewch Ddedwyddwch didersyn yn y Paradwys Nefawl.

D. *Beth os myfi ni ddilynaf y cyngor hwn?*

*A.* Os chwychwi ni fynnwch gymmeryd poen cyn leied oblegid Neges o gyfryw pwys a maint, ac yw TRAGWYDDOLDEB: Ond wedi darllain yr Ymadrodd hwn ei daflu ef ymmaith, gan lunio i chwi eichun Gydwybod ysgafala, difraw a dibryder, a dywedyd: *Mae'r cwbl yn dda, mae'r cwbl yn digon da.* Ac felly perhau yn orphennol yn anedifeiriol yn eich Sectariaeth a'ch Rhebeliwn damnedic yn erbyn Duw, heb nac ofn na dychryn, gan

wag-

wag ryfygu yn nhrugareddau a daioni Duw, megis y mae'r Sectariaid a'r Anffyddloniaid eraill: Yna Duw tra barhao eich pererindod trafferthus yn y dyff. yn hwn o ddagrau, a galeda eich calon chwi, megis y caledodd ef galon *Pharao*, fel na byddo gennych ddim cnofa cydwybod am eich drwg fuchedd, nac yn iach nac-yn glaf, nac hefyd chwaith pan fo'r Meddygon wedi colli eu gobaith oll o'ch hoedl chwi; (oddiethr i Gyfiawnder Duw eich cippio chwi yn ddisymmwth, trwy farwolaeth mwy amharod) chwychwi, yr hwn oeddech bob amser yn parhau yn Rebel yn erbyn Nef a Duw eu-hunain, gan ddisemblu'r gwaith a chwarae'r Hypocrit ffuantus yngwydd y Byd, a barhewch fyth yn eich rhagrith Hypocritic, gan ymddangos eichun yn sanctaidd-fodlod ac yn ewyllysgar i ymadael a'r byd hwn, a gwnenthur eich Llythyr-Cymmyn, a chanu Ffarwel i'ch Cyfeillion, &c. etto er hynny igyd, er hen *Sarph*

(i

( i ſugieſtiwnau yr hon yr oeddech yn waſtad mor uſudd; ) a'ch perſwadia chwi yn gyfrwys y gellwch chwi etto wellhau, mynd yn iach, a byw yn hir; hyd o'r diwedd, wedi colli ohonoch eich parabl a phob modd arall o adroddiad, y diſgynna megis ffrwd gynddeiriog neu megis corwynt tymmheſtlog ac y rhuthra llaw drom Digoſaint Duw ar eich traws chwi, ac a'ch bwria chwi i lawr i wag a diles ymgnoſa cydwybod, i anobaith gorphennol, ac i gas dirfawr parhaus o ddaioni Duw: ac felly y cippir eich enaid annedwydd allan o'i dy clai, ac y goſodir ef gerbron Tribunal Cyfiawnder y Goruchaf; lle yn gyſtal ar awr eich angau, ac yn nydd y Farn Gyffredin, y dengys ac yr eglura Chriſt ein Ceidwad i'r holl Yſprydion Bendigedic a Damnedic, y Trugareddau mowrion oll a wnaeth ef i chwi, trwy amryw ymyſprydoliaethau o ddydd i ddydd, o fis i fis, o flwyddyn i flwyddyn yn eich diſgwyl, yn galw

arnoch,

arnoch, ac yn eich annog i ddysod i mewn i wir Ffordd Jachawdwriaeth, ac yn enwedic trwy'r Ymadrodd hwn: a'r modd y darfu i chwi fyth yn gyndyn ddirmygu a gwrthod ufuddhau iddo, a diystyru ei sugiestiwnau ef, a pharhau byth yn wrthnysic yn eich Sectariaeth, hynny yw, mewn Rebeliwn yn ei erbyn ef, gan sathru Gwaed y Testament Newydd tan eich traed, a chroeshoelio Mab Duw drachefn. Ar yr hyn y rhoddant yr holl Seinctiau a'r Angelion Ddiolch anfeidrol, a Gogoniant, a Bendithion i Dduw am y Trugareddau mowrion annrhaethadwy a ddarfu iddo eu cynnyg cyn fynyched i chwi: Ac a'ch difernant chwi yn euog o'r *Digofaint* eithaf, ac o'r Poenau tragywyddol; ie a'r Ysprydion Repryfedic a ganmolant y Farn, gan eich dannod chwi yn fwy na neb. Ac wedi hynny y cewch-i glywed yr Oen Digllon yn llafaru y Farnedigaeth honno ddychrynnedic. *Discedite a me maledicti*



*ledicti in ignem æternum.* Ewch oddiwrthyf chwychwi y rhai melltigedic i'r Tan Tragywyddol, &c.

---



*Directiwn i'rhai cyfion yn ymwrthod a phechod marwol ac yn ceisio byw yn ddefotionol, i wneuthur* Cyffes Particwlar, *arferedig iw gwneuthur bob wythnos, bob pythefnos, neu bob deg neu bum niwrnod.*

GWneuthur Cyffes Barticwlar yn dda, sy bwnc lesfawr anfeidrol. Oblegid onis cymmerir gofal mawr, fe fydd hawdd ei gnewthur hi heb wir edifeiwch, a chyflawn

flawn fryd i wellhau, ac wrth hynny pechu yn orthwm ac yn Sacrilegaidd: lle pe gwneid hi yn dda, diammeu yw, a gellid byw yn burach, cwympo yn anamlach, codi yn gynt, rhodio yn fwy gochelgar: ni gaem weled ein beiau yn amlyccach, ni gaem ein comfforddi yn fynychach, ni gaem ein puro yn gynt, ac yn y Nef ein gobrwyo yn helaethach.

*Rhybyddion o flaen Cyffes.*

1. O ewyllys llwyr-difrif o ddangos flat dy enaid i'th Dad Ysprydol Gweddia yn daer ar ryw Sanct hynod o achos ei benyd, i gael goleuni trwy ei gyfrwng ef i wybod dy bechodau yn hollawl, ac iw cyffesu hwynt yn iawn.

2. Hola dy feddyliau, dy eiriau, a'th weithredodd oll ar ol dy Gyffes ddiweddaf yn rhesymmol ofalus, tros hanner awr, neu o amgylch hynny, yn fwy neu lai yn ol yr amser wedi dy Gyffes ddiweddaf.

3. Bid gennyt gymmaint edifeirwch ac a alli gyda bryd cyflawn i wellhau,

welhau, gan lwyr-gredu fod Duw, yr hwn sy ddaioni anfeidrol, ac i'r hwn yr wyt yn rhwymedig anianol, yn ddiau yn digio yn gyfion am y pechod lleiaf a wnei yn ei erbyn ef, ie er na bo ond maddeuol.

*Rhybyddion wrth gyffesu.*

1. Cyffessa dy bechodau *yn Ostyngedig*, gan lwyr-gydnabod dy drueni dy hun, ac a chyflawn anrhydedd tuag at Fawredd Dduw, yr hwn sy bennaf President neu Raglaw yn y Sacrafen hon. Ac am hynny gochel y Modd hwnnw o *Gyffes coeg-wag* a wneir trwy arfer allan o lyn.

2. Cyffessa dy feiau *ar fyrr eiriau*, heb fwy nac y fo rhaid, na chewddluau coeg, nac adroddion ofer fel y rhain: *Ni cherais Dduw fal y dylwn: Ni weddias yn gyftal ac y dylwn*: a'r cyffelyb a allai Angel o'r Nef eu cyffessu. Ond bydd di (yr hwn a arferi gyffessu yn fynych) yn fyrr, gan gyffessu (pan fo'r cwbl ond matterion man) saith

neu

neu wyth yn unic o'r pethau mwyaf nodedig a ddigwyddasant i ti ar ol dy Gyffes ddiweddaf, gyda'r pethau y mae dy natur fwyaf yn gwrthwynebu eu cyhoeddi.

3. Cyffessa'r cwbl *yn eglur* ymhob pwnc, ac mewn adrodd plaen, sympl, a gweddaidd, heb enwi neb ar gam, trwy esponi y weithred neillduol eihun, y motif, yr achos, a nifer pob vn, neu hyd yr amser y parhaodd. Na fydded ddigon gennyt ryw gyhudded gyffredin, pan fo rhyw beth particular tan y gyffredin honno yn aflonyddu dy gydwybod: er esampl: *Ni ddywedais yn gystal am eraill, ac y mynnwn ganthynt hwy ddywedyd amdanafi*: lle a dywedaist, ysgatfydd, rhyw ddrwg amdanynt: megis *eu bod yn gelwyddog, yn faleh yn ddiog, &c.* Ac ynghylch y digwydd hwnnw, bydd ofalus i ddywedyd y drwg hwnnw yn neillduol, ac wrth pa sawl y dywedaist bob tro, ac o ba achos a motif, ai ar fyrbwyll trwy ddigter,

o buasai ef farw eisoes. Ac wedi iddo alw y Canwriad atto, ef a ofynnodd iddo y oedd ef wedi marw eisoes. A phan wybu gan y Canwriad, fe a roddodd y corph i Joseph. A Joseph wedi prynnu Sindon, a'i dynnu ef i lawr, a'i dododd ef mewn Monument a naddasid o'r graig, ac a dreiglodd faen ar ddrws y Monument. A Mair Magdalen, a Mair Joseph oeddent yn edrych pa le y dodid ef.

---

Dioddefaint



# *Dioddefaint Ein Harglwydd Jesu Christ yn ol* S. Luc.

YN yr amser hwnnw : Nessaodd dydd gwyl yr Azymau, yr hwn a elwir y Pasch : a'r *A*rch-Offeiriaid, a'r Scrifennyddion a geisiasant pa fodd y lladdent yr Jesu : eithr yr oeddent yn ofni y bobl. A Satan a aeth i mewn i Judas, yr hwn a gyfenwid Iscariotes, vn o'r deuddeg. Ac ef a aeth ymmaith, ac a siaradodd a'r *A*rch-Offeiriaid, a'r Penswyddogion pa fodd y bradychai efe ef iddynt. Ac yr oedd yn llawen ganthynt, a hwy a gyttunasant ar roddi arian iddo. Ac ef a addawodd,

wodd. Ac yr oedd yn ceiſio amſer cyfaddas iw fradychu ef iddynt yn abſen y tyrfan. A daeth dydd yr Azymau, ar yr hwn yr oedd yn rhaid lladd y Paſch. Ac ef a ddanfonodd Petr a Joan, gan ddywedyd: gan fyned paratowch i ni'r Paſch, fel y bwyttaom. Eithr hwy a ddywedaſant: Pa le y mynni baratoi o honom? Ac ef a ddywedodd wrthynt: Wele a chwi yn myned i mewn i'r ddinas, cyferfydd a chwi ryw ddyn yn dwyn ſtenaid o ddwfr: canlynwch ef i'r ty, i'r hwn yr a i mewn, a dywedwch wrth wr y ty: Mae'r Meiſtr yn dywedyd wrthyt: Pa le y mae'r lletty, lle y gallwyf fwytta'r Paſch gyda'm diſcyblion? Ac ef a ddengys i chwi Reffectori fawr wedi ei thanu, ac yno paratowch. A hwy gan fyned, a gawſant fel y dywedaſai ef wrthynt, ac a baratoaſant y Paſch. A phan ddaeth yr awr, fe a eiſteddodd i lawr, a'r deuddeg Apoſtolion gydag ef. Ac ef a ddywedodd wrthynt: Ag ewyllyſchwant

llyschwant a chwennychais fwytta'r Pasch hwn gyda chwi cyn dioddef o honif. Oblegid yr wyf yn dywedyd i chwi, canys o hyn allan na's bwyttaf ef, hyd oni chyflawner yn nheyrnas Dduw. Ac wedi iddo gymmeryd y caregl fe a roddodd ddiolch, ac a ddywedodd: Cymmerwch, a rhennwch yn eich plith, canys yr wyf yn dywedyd i chwi nad yfaf o genhedliad y winwydden, hyd oni ddelo teyrnas Dduw. Ac wedi iddo gymmeryd bara fe a ddiolchodd, ac a dorrodd, ac a roddodd iddynt, gan ddywedyd: HWN YW FYNGORPH YR HWN YR YDYS YN EI RODDI TROSOCH CHWI: gwnewch hyn er coffa amdanafi. Yn yr vn modd y caregl, wedi iddo swpperu, gan ddywedyd: HWN YW'R CAREGL Y TESTAMENT NEWYDD, YR HWN A DYWALLTIR TROSOCH CHWI. Eithr wele law yr hwn sydd yn fy mradychu i, sy gyda mi

ar

ar y bwrdd. Ac yn wir mae Mab y dyn yn myned, yn ol yr hyn sy wedi ei ordeinio : eithr gwae i'r dyn hwnnw, trwy'r hwn y bradychir ef. Hwythau a ddechreuasant ymofyn yn eu plith euhun, pwy oedd ohonynt, yr hwn a wnai hynny. A bu ymryson yn eu plith, pwy ohonynt a dybygid ei fod yn fwy. Ac ef a ddywedodd wrthynt: Mae brenhinoedd y Cenhedloedd yn arglwyddiaethu arnynt, a' rhai sy mewn awdurdod arnynt, a elwir yn gymwynas-wneuthur-wyr. Ond chwychwi nid felly : eithr yr hwn sy fwy yn eich plith, bydded megis yr ieuengach : a'r hwn sydd yn flaenor, megis y gwasanaethwr. Canys pa vn sy fwy, ai yr hwn sydd yn eistedd wrth y bwrdd, ai'r hwn sydd yn gwasanaethu? ond yr hwn sydd yn eistedd? Eithr yr wyfi yn eich canol, megis yr hwn sydd yn gwasanaethu. A chwychwi yw y rhai a arosasoch gyda mi yn fy mhrofedigaethau : ac yr wyf fi yn dosparthu

thu i chwi, megis y dosparthodd fy Nhad i minnau deyrnas, fel y bwyttaoch ac yr yfoch ar fy mwrdd i yn fy nheyrnas: ac yr eisteddoch ar thronau yn barnu deuddegllwyth Israel. *A*'n Harglwydd a ddywedodd: Simon, Simon, wele Satan a'ch ceisiodd chwi fel y gogrynnai megis gwenith: EITHR MI A WEDDIAIS TROSOT TI fel na fetha dy Ffydd di: tithau weithian wedi'th troi cadarnha dy frodyr. Yr hwn a ddywedodd wrtho: *A*rglwydd, yr wyf fi yn barod i fyned gyda thi i garchar ac i angeu. Yntau a ddywedodd: Yr wyf yn dywedyd i ti Petr, ni chan y ceiliog heddyw, nes gwadu o honot deirgwaith, fy adnabod i. *A*c ef a ddywedodd wrthynt: Pan y danfonais chwi heb bwrs, a chod, ac esgidiau, y fu dim yn eisiau i chwi? Eithr hwy a ddywedasant: Na ddo ddim. Ef a ddywedodd ganhynny wrthynt: Ond ynawr, yr hwn sydd a phwrs gantho, cymmered: a'r vn modd

god:

god: a'r neb nid oes gantho, gwerthed ei bais, a phrynned gleddyf. Oblegid yr wyf yn dywedyd i chwi, canys etto yr hyn y sydd yn scrifennedic, sydd raid ei gyflawni ynofi: *A* chyda'r anwir y cyfrifwyd ef. Canys mae'r pethau, sydd amdanaf fi, a diben iddynt. Eithr hwy a ddywedasant: Arglwydd, wele ddau gleddyfau ymma. Yntau a ddywedodd wrthynt: Digon yw. *Ac* wedi iddo fyned allan fe a aeth yn ol ei arfer i Fynydd-Olivet. *A'i* ddiscyblion hefyd a'i canlynasant ef. *A* phan ddaeth ef i'r man, fe a ddywedodd wrthynt: Gweddiwch nad eloch mewn profedigaeth. *Ac* efe a dynnwyd oddiwrthynt cymmaint ac yw ergid carreg: ac wedi iddo fyned ar ei liniau fe a weddiodd, gan ddywedyd: O Dad os mynni, symmud y cwpan hwn oddiwrthyf: Er hynny nid fy ewyllys i, ond gwneler dy vn di. *Ac* Angel o'r nef a ymddangosodd iddo yn ei nerthu ef. *Ac* ef wedi syrthio

mewn

mewn gloes, a weddiodd yn hwy. A'i chwys ef oedd fel defnynnau gwaed yn rhedeg i waered ar y ddaear. A phan gododd ef o'i weddi, a dyfod at ei ddiscyblion, fe a'i cafodd hwynt yn cysgu gan dristwch. Ac a ddywedodd wrthynt: Pam yr ydych yn cysgu? codwch, gweddiwch rhag myned o honoch mewn profedigaeth. Ac ef etto yn llafaru, wele dyrfa: a'r hwn a elwir Judas, yn o'r deuddeg, oedd yn myned o'i blaen hwynt: ac ef a nesbaodd at yr Jesu i'w gussanu ef. A'r Jesu a ddywedodd wrtho: Judas, a'i a chussan yr wyt ti yn bradychu Mab y dyn? A' rhai oedd yn ei gylch ef, yn gweled yr hyn oedd i ddyfod, a ddywedasant wrtho: A glwydd, a darawn ni a chleddyf? Ac vn o honynt a darawodd was yr Arch-Offeiriad, ac a dorrodd ymmaith ei glust ddehau ef. A'r Jesu gan atteb, a ddywedodd: Goddefwch hyd ymma. A phan gyfyrfodd a'i glust ef, fe a'i iachaodd ef. A'r Jesu

a ddywedodd wrth y rhai a ddaethent atto, yr Arch-Offeiriaid, a Phenſwyddogion y Deml, a'r Henuriaid: *A*i megis at leidr y daethoch chwi allan a chleddyfau ac a ffyn? Pan oeddwn beunydd gyda chwi yn y Deml nid yſtynnaſoch ddwylo arnaf: eithr hon yw eich awr chwi, a gallu'r tywyllwch. *A* hwy gan ei ddala ef, a'i dygaſant i mewn i dy yr *A*rch-Offeiriad: eithr Petr a ganlynodd o hirbell. *A*c wedi iddynt gynneu tan ynghanol y Cynteddlys, a hwythau yn eiſtedd o amgylch yr oedd Petr yn eiſtedd yn eu canol hwynt. Yr hwn pan welodd rhyw forwyn yn eiſtedd wrth y tan, ac edrych o honi arno, hi a ddywedodd. *A* hwn oedd gydag ef. Yntau a'i gwadodd ef, gan ddywedyd: O ferch, nid adwaen i ef. Ac ar ol ychydic vn arall gan ei weled ef, a ddywedodd: Tithau wyt o honynt hwy. Eithr Petr a ddywedodd, O ddyn nid ydwyf. *A*c ar ol megis yſpaid vn awr, rhyw vn
arall

arall a daerodd, gan ddywedyd: Yn wir yr oedd hwn hefyd gydag ef: canys Galilæad yw ef hefyd. *A* Phetr a ddywedodd: O ddyn nis gwn beth yr wyt yn ei ddywedyd. *Ac* yn y man ac ef etto yn llafarn canodd y ceiliog. A'n Harglwydd wedi troi a edrychodd ar Betr. *A* Phetr a gofiodd ymadrodd ein Harglwydd, megis y dywedasai: Canys cyn canu o'r ceiliog, ti a'm gwedi deirgwaith. *A* Phetr wedi myned allan a wylodd yn chwerwdost. *A*'r gwyr oedd yn ei ddal ef, a'i gwatwarasant ef gan ei daro. A hwy a guddiasant ei lygaid ef, ac a darawasant ei wyneb ef: ac a ofynnasant iddo, gan ddywedyd: Prophwyda, pwy yw, yr hwn a'th tarawodd di? *A* llawer o bethau eraill gan gablu a ddywedasant yn ei erbyn ef. *A* phan aeth hi yn ddydd, Henuriaid y bobl, a'r *A*rch-Offeiriaid, a'r Scrifennyddion a ddaethant yng-hyd, ac a'i dygasant ef i'w cyngor hwynt, gan ddywedyd: Os tydi

yw

yw Christ, dywed i ni. *Ac* ef a ddywedodd wrthynt: Os dywedaf i chwi, ni chredwch chwi ddim i mi: Ac os gofynnaf hefyd, nid attebwch i mi, ac ni'm gollyngwch ymmaith: Eithr yn ol hyn fe fydd Mab y dyn yn eistedd ar ddeheulaw gallu Duw. *A* hwy oll a ddywedasant: *Ai* Mab Duw gan hynny wyt ti? Yr hwn a ddywedodd: Yr ydych chwi yn dywedyd, fy mod. Hwythau a ddywedasant: Pa raid i ni mwyach wrth destiolaeth? Canys clywsom einhunain o'i eneu ef eihun. A'r holl liaws o honynt gan gyfodi, a'i dygasant ef at Pilat. Ac a ddechreuasant ei gyhuddo ef, gan ddywedyd: Ni a gawsom hwn yn gwyrdroi ein natiwn ni, ac yn gwahardd rhoi teirnged i Cæsar, ac yn dywedyd mai efe yw'r brenin Christ. A Philat a ofynnodd iddo, gan ddywedyd: Ai ti yw Brenin yr Iuddewon? Yntau gan atteb a ddywedodd: Yr wyti yn dywedyd. *A* dywedodd Pilat wrth yr Arch Offeiriaid

aid, a'r tyrfeydd : Nid wyfi yn ca-
el dim achos yn y dyn hwn. Eithr
hwy y fuant daerach, gan ddywe-
dyd : Mae ef yn cyffroi'r bobl, gan
ddysgu trwy holl Judæa, wedi de-
chreu o Galilæa hyd ymma. *A*
Philat gan glywed son am Galilæa,
a ofynnodd ai dyn Galilæad oedd ef.
*A* phan wybu ef ei fod ef o lywo-
draeth Herod, fe a'i danfonodd ef
yn ol at Herod, yr hwn oedd yntau
yn Jerusalem y dyddiau hynny. *A*
Herod wedi iddo weled yr Jesu, a
lawenychodd yn fawr, canys yr oedd
ef er ystalm o amser yn chwennych
ei weled ef, oblegid iddo glywed
llawer amdano ef, ac yr oedd ef yn
gobeithio cael gweled gwneuthur
rhyw arwydd gantho ef. Ac efe a'i
holodd ef mewn llawer o eiriau :
eithr efe nid attebodd ddim iddo.
*A'r* Arch-Offeiriaid, a'r Scrifenyddi-
on a safasant gan ei gyhuddo ef yn
wastadol. *A* dirmygodd Herod ef
gyda'i lu : ac a'i gwatwarodd ef we-
di ei wisgo a gwisg wen, ac a'i dan-
fonodd

ſonodd ef drachefn at Pilat. A gwnaed Pilat a Herod yn gyfeillion ar y dydd hwnnw: canys o'r blaen yr oeddent yn elynnion i'w gilydd. A Philat wedi galw yng-hyd yr *Arch*-Offeiriaid, a'r Pen-ſwyddogion, a'r bobl, a ddywedodd wrthynt: Chwychwi a offrymmaſoch i mi y dyn hwn, fel un yn gwyr-droi'r bobl, ac wele myfi gan ei holi ef yn eich gwydd chwi, ni chefais ddim achos yn y dyn hwn o'r pethau, am y rhai yr ydych chwi yn ei gyhuddo ef. Na Herod chwaith: canys mi a'ch danfonais chwi atto ef, ac wele dim yn haeddu marwolaeth nis gwnaed iddo. Am hynny wedi ei goſpi ef mi a'i gollyngaf yn rhydd. Ac yr oedd yn rhaid iddo ollwng ar y dydd gwyl, un yn rhydd. Eithr yr holl liaws ynghyd a leſaſant, gan ddywedyd: Bwrw hwn ymmaith, a gollwng i ni Barabbas yn rhydd. Yr hwn am ryw derfyſg a wnelſid yn y ddinas a llofruddiaeth, oedd wedi ei daflu i garchar.

garchar. A thrachefn Pilat a lafarodd wrthynt, gan ewellyfio gollwng y Jefu yn rhydd. Eithr hwy y atlefafant, gan ddywedyd: Croef-hoelia, croef-hoelia ef. Ac ef y drydedd waith a ddywedodd wrthynt: Canys pa ddrwg a wnaeth ef? nid ydwyfi yn cael dim achos marwolaeth ynddo ef: mi a'i cofpaf ef ganhynny, ac a'i gollyngaf yn rhydd. Eithr hwy y fuont daerion a llefau vchel gan ddeifyfu ei groefhoelio ef: a'i llefau hwynt a orfuant. A Philat a farnodd wneuthur eu deifyfiad hwynt. Ac ef a ollyngodd iddynt yn rhydd yr hwn, y oedd wedi ei fwrw i garchar am derfyfg a llofruddiaeth, yr hwn yr oeddent yn ei ofyn: eithr yr Jefu a draddododd ef i'w hewyllys hwynt. A phan yr oeddent yn ei arwain ef ymmaith, hwy a ddaliafant vn Simon o Cyrene, yn dyfod o'r wlad: ac a ddodafant y groes arno ef i'w dwyn ar ol yr Jefu. Ac yr oedd yn ei ganlyn ef liaws mawr o bobl, ac o wragedd:

y rhai oeddent yn cwynfan ac yn ga-
laru o'i blegyd ef. A'r Jesu wedi troi
attynt, a ddywedodd: Merched
Jerusalem, nac wylwch o'm plegyd
i, eithr wylwch o'ch plegyd eich
hun, ac oblegyd eich plant: Ca-
nys wele y dyddiau a ddaw, yn y
rhai y dywedant: Gwyn eu byd
y rhai ammhlantadwy, a'r crothau
ni eppiliasant a'r bronnau ni roesant
sugn. Yna y dechreuant ddywe-
dyd wrth y mynyddoedd: Syrthi-
wch arnom: ac wrth y brynniau:
Cuddiwch ni. Canys os yn y pren
ir y gwnant y pethau hyn, yn y
crin beth a wneir? Ac arweinwyd
hefyd ddau eraill o ddrwg-weithred-
wyr gydag ef, i'w rhoi i'w marwo-
laeth. Ac wedi iddynt ddyfod i'r
lle a elwir Calvaria, yno hwy a'i
croeshoeliasant ef: a'r lladron, un
ar y law ddehau, a'r llall ar yr asswy.
A'r Jesu a ddywedodd: O Dad,
maddeu iddynt: canys ni wyddant
yr hyn y maent yn ei wneuthur. Eithr
gan rannu ei ddillad ef, hwy a

fw-

ſwriaſant goeſbrenni. A'r bobl a ſa-
ſodd yn edrych, a'r Pennaethiaid a'i
gwatwaraſant ef gyda hwynt, gan
ddywedyd : Eraill a waredodd ef,
gwareded ef eihun, os hwn yw
Chriſt etholedic Duw. A'r mil-
wyr hefyd a'i gwatwaraſant gan
ddyfod atto, a chynnyg finegr iddo,
a dywedyd : Os tydi yw Brenin yr
Juddewon, gwared dyhun. Ac yr
oedd hefyd arſcrifen wedi ei ſcrifen-
nu uwch ei ben ef a llythyrennau
Groeg, a Lladin, a Hebrew : HWN
YW BRENIN YR IVDDE-
WON. Ac vn o'r lladron, y rhai
oedd yn crogi, a'i cablodd ef, gan
ddywedyd : Os tydi yw Chriſt,
gwared dyhun, a ninnau. Eithr y
llall gan atteb a'i ceryddodd ef, gan
ddywedyd : Nid wyt ti chwaith
yn ofni Duw, gan dy fod yn yr vn
ddamnedigaeth. A nyni yn wir yn
gyfiawn, canys yr ydym yn derbyn
yr hyn a haeddai ein gweithred-
oedd : eithr hwn ni wnaeth ddim
drwg. Ac ef a ddywedodd wrth yr

Jesu: Arglwydd, cofia fi, pan
ddelych i'th deyrnas. A'r Jesu a
ddywedodd wrtho: Amen meddaf
i ti: Heddyw y byddi gyda mi
ym mharadwys. Ac yr oedd hi yn
agos y chweched awr, a thywyll-
wch y fu ar yr holl ddaear hyd y
nawfed awr. A'r haul a dywyllodd:
a llen y Deml a rwygwyd yn ei cha-
nol. A'r Jesu gan lefain a llef vchel
a ddywedodd: O Dad, i'th ddwy-
lo di yr wyf yn gorchymmyn fy
yspryd. A chan ddywedyd hyn, f
a ymadawodd a'r yspryd. A'r Can-
wriad gan weled yr hyn a wnaed,
ogoneddodd Dduw gan ddywedyd
Yn wir yr oedd y dyn hwn yn gyf
ion. A'r holl liaws o'r rhai, y oe
ddent ynghyd yn bresennol ar y gol
wg hwn, ac a welsant y pethau
wnaed, a ddychwelasant gan gur
eu dwyfronnau. A'i holl gydnabo
a safasant o hirbell, a'r merched,
rhai a'i canlynasant ef o Galilæ
yn edrych ar y pethau hyn. Ac w
le gwr a'i enw Joseph, yr hwn oed
Se

Seneddwr, gwr da a chyfion: Hwn ni chyttunasai a'i cyngor ac a'i gweithredodd hwynt, o Arimathæa dinas o Judæa, yr hwn oedd yntau yn disgwyl teyrnas Dduw. Hwn a aeth at Pilat, ac a ofynnodd gorph yr Jesu: Ac wedi ei dynnu i lawr fe a'i plygodd ef mewn Sindon, ac a'i dododd mewn monument wedi naddu mewn carreg, yn yr hwn ni roddasid dyn erioed. *A* dydd y Parasçeve oedd hi, a'r Sabbath oedd yn nessau. *A*'r merched yn canlyn ar ol, y rhai a ddaethent gyda ag ef o Galilæa, a welsant y Monument, a pha fodd y dodwyd ei gorph ef. *A* hwy gan ddychwelyd a baratoasant ber-aroglau, ac ennaint: *A*c a orphwysasant ar y Sabbath yn ol y gorchymmyn.



# *Dioddefaint Ein Harglwydd Jesu Christ yn ol* S. Ioan.

YN yr amser hwnnw : Ef a aeth yr Jesu allan ef a'i Ddiscybli-on tros y Torrent Cedron, lle yr oedd gardd, i'r hon yr aeth ef a'i ddiscyblion. Ac fe a adwaenai Judas hefyd, yr hwn a'i bradychodd ef, y lle : oblegid mynych y cyrchafai yr Jesu gyda'i ddiscyblion yno. Iudas ganhynny wedi iddo gymmeryd byddin, a ministri gan yr Arch-Offeiriaid a'r Pharisæaid a ddaeth yno a lanternau, a ffaglau, ac arfau. Y

Iesu

Iesu ganhynny yn gwybod pob peth
y oedd ar ddyfod arno, a aeth ym-
laen, ac a ddywedodd wrthynt :
Pwy yr ydych yn ei geisio? Hwy
a attebasant iddo : Iesu o Nazareth.
Yr Iesu a ddywedodd wrthynt : Myfi
yw. A Iudas hefyd, yr hwn a'i
bradychodd ef, oedd yn sefyll gyda
hwynt. Cyn gynted gan hynny ac
a dywedodd ef wrthynt : Myfi yw :
hwy a aethant yn nwysc eu cefnau,
ac a syrthiasant ar y llawr. Dra-
chefn ganhynny ef a ofynnodd
iddynt : Pwy yr ydych yn ei geisio?
A hwy a ddywedasant : Iesu o Naza-
reth. Yr Iesu a attebodd : Mi a
ddywedais i chwi, mai myfi yw :
os myfi ganhynny yr ydych yn ei
geisio, gedwch i' rhain fyned ym-
maith. Fel y cyflawnid y gair, yr
hwn a ddywedasai ef : O' rhai a
roddaist i mi, ni chollais yr vn. Si-
mon Petr ganhynny a chanddo gle-
ddy a'i tynnodd ef : ac a darawodd
was yr Arch-Offeiriad : ac a dor-
rodd ymmaith ei glust ddehau ef

Ac enw y gwas oedd Malchus. Yr Iesu gan hynny a ddywedodd wrth Petr: Dod dy gleddyf yn y wain. Y caregl yr hwn a roddes fy Nhad i mi, onid yfaf ef? Y fyddin ganhynny, a'r Tribun, a ministri yr Iuddewon, a ddaliasant yr Iesu, ac a'i rhwymasant ef. Ac a'i dygasant ef at Annas yn gyntaf; canys yr oedd ef yn chwegrwn Caiphas, yr hwn oedd Arch-Offeiriad y flwyddyn honno. A Caiphas oedd yr hwn a roesai gyngor i'r Iuddewon: Mai buddiol yw, farw o vn dyn tros y bobl. Ac yr oedd yn canlyn yr Iesu Simon Petr, a discybl arall. A'r discybl hwnnw oedd yn adnabyddus gan yr Arch-Offeiriad. ac ef a aeth i mewn gyda'r Iesu i gynteddlys yr Arch-Offeiriad. A Phetr oedd yn sefyll wrth y drws allan. Y discybl arall ganhynny, yr hwn oedd yn adnabyddus gan yr Arch-Offeiriad a aeth allan, ac a ddywedodd wrth y ddrysores, ac a d..ygodd Petr i mewn. Ef a ddywedodd g nhynny

wrth

wrth Peter y forwyn ddryfores: Onid wyt tithau o ddifcyblion y dyn hwn? Dywedodd yntau: Nac ydwyf. A'r gweifion a'r miniftri oeddent yn fefyll wrth dân glo, o herwydd ei bod hi yn oer, ac yn ymdwymno euhunain: ac yr oedd Petr gyda hwynt yn fefyll, ac yn ymdwymno eihun. Yr Arch-Offeiriad ganhynny a ofynnodd i'r Iefu am ei ddifcyblion, ac am ei athrawiaeth. Yr Iefu a attebodd iddo: Myfi a lafarais yn gyhoedd wrth y byd: myfi a athrawiaethais bob amfer yn y Synagog, ac yn y Deml, lle mae'r holl Iuddewon yn ymgynnull, ac yn ddirgel ni ddywedais i ddim. Pa ham yr wyt yn gofyn i mi? gofyn i'r rhai, a glywfant yr hyn a ddywedais wrthynt: wele hwy a wyddant pa bethau a ddywedais i. Ac wedi iddo ddywedyd y pethau hyn, vn o'r miniftri yn fefyll ger llaw a roddodd gernod i'r Jefu, gan ddywedyd: Ai felly yr wyt ti yn atteb yr Arch-Offeiriad? Yr Jefu a

atteboddd iddo : Os yn ddrwg y dywedais, dyro destiolaeth o'r drwg : eithr os yn dda, paham yr wyt yn fy nharo i ? Ac Annas a'i danfonodd ef yn rhwym at Caiphas yr Arch-Offeiriad. A Simon Petr oedd yn sefyll, yn ymdwymno eihun. Hwy a ddywedasant ganhynny wrtho ef : Onid wyt tithau hefyd o'i Ddiscyblion ef. Yntau a wadodd, ac a ddywedodd : Nac ydwyf. Dywedodd wrtho vn o weision yr Arch-Offeiriad, câr i'r hwn y torrasai Petr ei glust ; oni welais i di yn yr ardd gydag ef ? Petr ganhynny a wadodd drachefn : ac yn y man canodd y ceiliog. Hwy a ddygasant ganhynny yr Jesu oddiwrth Caiphas i'r Palas. A'r bore ydoedd hi : ac nid aethant hwy i mewn i'r Palas fel na halogid hwynt, eithr fel y gallent fwytta'r Pasch. Pilat ganhynny a aeth allan attynt, ac a ddywedodd : Pa achwyn yr ydych chwi yn ei ddwyn yn erbyn y dyn hwn ? Hwy a attebasant, ac a ddywedasant wrtho :

tho: Oni bai fod hwn yn ddrwg weithredwr, ni thraddodasant ni ef i ti. Pilat ganhynny a ddywedodd wrthynt: Cymmerwch chwi ef, ac yn ol eich cyfraith chwi bernwch ef. Yr Iuddewon ganhynny a ddywedasant wrtho: Nid yw cyfreithlon i ni ladd vn dyn. Fel y cyflawnid gair yr Iesu, yr hwn a ddywedasai ef, gan arwyddoccau o ba angeu y byddai ef farw. Pilat ganhynny a aeth drachefn i mewn i'r Palas ac a alwodd yr Iesu, ac a ddywedodd wrtho: Ai ti yw Brenin y Iuddewon? Yr Iesu a attebodd: Ai o honot dyhun yr wyt yn dywedyd hyn, *Ai* eraill, a ddywedasant i ti amdana fi? Pilat a attebodd: Ai Iuddew ydwyfi? Dy genedl dyhun, a'r Arch-Offeiriaid, a'th draddodasant di i mi: beth a wnaethost ti? Yr Iesu a attebodd: Fy mrenhiniaeth i nid yw o'r byd hwn. Pe bai fy mrenhiniaeth i o'r byd hwn, fyngweision ynddiau a ymdrechent, fel na'm rhoddid i'r Iuddewon: eithr

eithr yrwŏn nid yw fy mrenhiniaeth i oddiymma. Pilat ganhynny a ddywedodd wrtho : Ai Brenin wrthynny wyt ti? Yr Jesu a attebodd : Yr ydwyt ti yn dywedyd mai Brenin wyf fi. Myfi a anywd er mwyn hyn, ac er mwyn hyn y daethym i'r byd, fel y rhoddwn destiolaeth i'r gwirionedd : pob vn a'r sydd o'r gwirionedd, sydd yn gwrando fy lleferydd i. Pilat a ddywedodd wrtho : Beth yw gwirionedd? Ac wedi iddo ddywedyd hyn, ef a aeth allan drachefn at yr Juddewon, ac a ddywedodd wrthynt : Nid wyf i yn cael dim achos ynddo ef. Eithr mae gennych chwi arfer, i mi ollwng i chwi vn yn rhydd ar y Pasch : a fynnwch chwi ganhynny i mi ollwng yn rhydd i chwi Frenin yr Juddewon? Hwy oll ganhynny a lefasant drachefn, gan ddywedyd : Nid hwnnw, ond Barabbas. *A* lleidr oedd Barabbas. Yna ganhynny y cymmerodd Pilat yr Jesu, ac a'i fflangelodd ef. *A*'r mylwyr gan

blethu

blethu coron oddrain a'i goſodaſant ar ei ben ef : ac a roeſanr wiſg o borphor amdano. Ac a ddaethant atto, ac a ddywedaſant : Hanffych well Brenin yr Juddewon : ac a roeſant iddo gernodiau. Pilat ganhynny a aeth allan drachefn, ac a ddywedodd wrthynt : Wele yr wyfi yn ei ddwyn ef allan i chwi, fel y gwyppoch nad wyfi yn cael dim achos ynddo. ( Yr Jeſu ganhynny a aeth allan yn dwyn y goron ddrain a'r wiſg borphor. ) A dywedodd wrthynt : *Wele y dyn.* Pan welſant ef gan ganhynny yr Arch-Offeiriaid, a'r miniſtri, hwy a lefaſant, gan ddywedyd : Croeſhoelia, Croeſhoelia ef. Pilat a ddywedodd wrthynt : Cymmerwch chwi ef, a chroeſhoeliwch : canys nid wyfi yn cael dim achos ynddo. Yr Juddewon a attebaſant iddo : Mae gennym ni gyfraith, ac yn ol y gyfraith fe a ddylai farw, am iddo wneuthur eihun yn Fab Duw. Pan glybu ganhynny

hynny Pilat yr ymmadrodd hwn, fe
a ofnodd yn fwy. Ac a aeth i mewn
i'r Palas drachefn, ac a ddywedodd
wrth yr Jesu: O ba le yr wyt ti?
Ond yr Jesu ni roddodd ddim atteb
iddo. Pilat ganhynny a ddywedodd
wrtho: Oni ddywedi di wrthyf i?
oni wyddost di fod gennyf i awdur-
dod i'th groeshoelio di, a bod gen-
nyf awdurdod i'th ollwng yn rhydd?
Yr Jesu a attebodd: Ni byddai i ti
ddim awdurdod yn fy erbyn i, oni bai
ei fod wedi ei roddi i ti oddiuchod.
Am hynny yr hwn a'm traddododd i
ti sydd fwy ei bechod. Ac o hynny
allan y ceisiodd Pilat ei olwng ef yn
rhydd. Eithr yr Iuddewon a lefa-
sant gan ddywedyd: Os gollyngi
di hwn yn rhydd, nid wyti yn ffrind
i Cæsar. Canys pob vn a'r wnelo ei-
hun yn frenin, sydd yn dywedyd yn
erbyn Cæsar. Ond pan glybu Pilat
y geiriau hyn, a fe ddygodd allan yr
Jesu: ac a eisteddodd ar y Tribu-
nal yn y lle a elwir Lithostrotos,
ac yn Hebrew Gabbatha. A Para-
sceve

ſçeve y Paſc oedd hi, ynghylch y chweched awr, ac ef a ddywedodd wrth y Juddewon: Wele eich Brenin. Eithr hwy a leſaſant: Ymmaith ac ef, ymmaith ac ef, croeſhoelia ef. Pilat a ddywedodd wrthynt: A groeſhoeliaf i eich Brenin chwi? Yr Arch Offeiriaid a attebaſant. Nid oes gennym ni frenin ond Cæſar. Yna ganhynny fe a'i traddododd ef iddynt i'w groeſhoelio. A hwy a gymmeraſant yr Jeſu ac a'i dygaſant ef allan. Ac ef gan ddwyn ei groes a aeth allan i'r lle a elwit Calvaria, ac yn Hebrew Golgotha lle y croeſhoeliaſant ef, a dau ereaill gydag ef, vn o bob tu. a'r Ieſu yn y canol. A Philat hefyd a ſcrifennodd ditul; ac a'i dododd ar y groes. Ac yr oedd yn ſcrifennedic: IESV O NAZARETH BRENIN YR IVDDEWON. Y titul hwn ganhynny a ddarllennodd llawer o'r Iuddewon: oblegid agos i'r ddinas oedd y fan lle y croeſhoeliwyd yr Ieſu. Ac yr oedd wedi

di ei scrifennu yn Hebrew, Groeg, a Lladin. Arch-Offeiriaid yr Iuddewon ganhynny a ddywedasant wrth Pilat: Na scrifenna, Brenin yr Iuddewon: eithr ddarfod iddo ef ddywedyd: Brenin yr Iuddewon ydwyfi. Pilat a attebodd, yr hyn a scrifennais, a scrifennais. Y milwyr ganhynny wedi iddynt ei groeshoelio ef, a gymmerasant ei ddillad ef, (ac a wnaethant bedair rhann: i bob milwr vn) a'i bais. Ac yr oedd ei bais ef yn ddiwnîad, wedi ei gwau o'r cwr uchaf trwyddi oll. Hwy a ddywedasant ganhynny wrth eu gilydd: Na thorrwn hi, ond bwrriwn goelbrenni amdani eiddo pwy y fydd hi. Fel y cyflawnid y Scrythur, yn dywedyd: Rhannasant fy nillad yn eu mysc; ac ar fyngwisg y bwriasant goelbren. A'r milwyr a wnaethant y pethau hyn. Ac yr oedd yn sefyll wrth groes yr Iesu ei Fam ef, a chwaer ei Fam ef Mair Cleophas, a Mair Magdalen. Pan welodd ganhynny yr Iesu ei Fam,

Fam, a'r Discybl yn sefyll, yr hwn a garai ef, fe a ddywedodd wrth ei Fam: O wraig wele dy fab. Wedi hynny fe a ddywedodd wrth y Discybl: Wele dy fam. Ac o'r awr honno allan y cymmerodd y Discybl hi i'w eiddo eihun. Ar ol hynny yr Iesu yn gwybod fod pob pethau wedi eu gorphen, fel y gorphennid y Scrythur, a ddywedodd: Mae syched arnaf. Llestr ganhynny oedd wedi ei osod yn llawn o finegr. A hwy gan osod yspwng yn llawn o finegr o amgylch hyssop, a'i offrymmasant wrth ei enau ef. Pan gymmerodd ganhynny yr Iesu y finegr, ef a ddywedodd: Gorphennwyd. *A* chan ogwyddo ei ben, fe a roddodd i fynu yr yspryd. Yr Iuddewon ganhynny, (oblegid mae'r Parasçeve oedd hi) fel nad arhosai y cyrph ar y groes ar y Sabbath, (canys mawr oedd y dydd Sabbath hwnnw) a ddymunasant ar Pilat gael torri eu hesceiriau hwynt, a'i tynnu i lawr. Y milwyr ganhynny

a

a ddaethant; ac a dorraſant eſceiriau y cyntaf, a'r llall, yr hwn a groeſhoeliaſid gydag ef. Eithr wedi iddynt ddyfod at yr Jeſu, pan welſant ef wedi marw eiſoes, ni thorraſant ei eſceiriau ef: ond vn o'r milwyr a agorodd ei yſtlys ef a gwaywffon, ac yn y man y daeth allan waed a dwfr. A'r hwn a'i gwelodd, a deſtiolaethodd: a gwir yw ei deſtiolaeth ef. Ac mae ef yn gwybod, ei fod yn dywedyd gwir: fel y credoch chwithau. Canys y pethau hyn a wnaed, fel y cyflawnid y Scrythur: Ni chewch-i dorri aſgwrn o hono. A thrachefn mae Scrythur arall yn dywedyd: Hwy a edrychant ar yr hwn a wanaſant. Ac ar ol hynny a deiſyfodd ar Pilat Joſeph o Arimathæa (o ran ei fod ef yn Ddiſcybl i'r Jeſu, eithr yn guddiedic rhag ofn yr Iuddewon) gael dwyn ymmaith gorph yr Jeſu. A Philat a ganiadodd iddo. Ef a ddaeth ganhynny, ac a ddygodd ymmaith gorph yr Jeſu. A daeth

Nicodemus

Nicodemus hefyd, yr hwn ar y cyntaf a ddaethai at yr Jeſu o hyd nos, gan ddwyn cymmyſgiad o aloes a myrrh. o amgylch canpwys. Hwy a gymmeraſant ganhynny gorph yr Jeſu, ac a'i rhwymaſant mewn llieiniau gydag aroglau, fel y mae arfer i'r Iuddewon ar gladdu. Ac yn y fangre lle y croeſhoeliwyd ef, yr oedd gardd: a Monument newydd yn yr ardd, yn yr hwn ni ddodaſid dyn erioed. Yno ganhynny o herwydd Paraſçeve yr Iuddewon, am fod y Monument yn agos, hwy a ddodaſant yr IESU.

---



# *Testament neu Lythyr-Cymmyn yr Enaid i'w wneuthar beunydd gan bob Christion devotionol.*

*In nomine Domini Amen.*

YR wyf fi yn gorchymmyn fy enaid i Dduw, a'm corph i'r Ddaear, i Bydrni ac i'r Pryfed.

Yr wyf fi yn gwrthod o'm gwirfodd ac yn gadael pob daoedd amserol, y rhai nid ydynt ddim arall ond pur wagedd.

Mae'n edifar gennyf o waelod fynghalon am fy mhechodau, a hynny, o dra cariad ar Dduw.

Yr wyf fi yn maddeu o waelod fynghalon i'm holl Elynnion.

Yr wyf fi yn credu yn Nuw, Vn mewn Hanfod: a thri mewn Personnau,

ſonnau, y Tad, y Mab a'r Yſpryd Glan: ein Creawdwr, ein Ceidwad, ein Rhybrynnwr: Hollalluog, Holl-ddaionus, Holl-hael, Holl-ddoeth: a darfod i'r ail Berſon, yr hwn yw Mab Duw, wneuthur eihun yn ddyn, a marw ar y Groes i'm gwared fi, a phob pethau eraill y mae'r Eglwys Lan, Gatholic, *Aſoſtolic*, Ruſeinaidd yn eu goſod o'm blaen i i'w credu.

Yr wyf fi yn gobeithio o drugaredd Dduw, trwy ryglyddiannau ſy Iachawdwr daionus Ieſu Chriſt, cael maddeuant o'm holl bechodau, a bywyd tragywyddol.

Yr wyf fi yn caru Duw, er ei ſwyn ef eihun yn vnic a'm holl galon, a'm holl enaid, ac a'm holl nerth.

Yr wyf fi yn cwbl-ymroi fyhun yn lan, yn hollawl ac yn gyflawn i drefnid ei Ewyllys addoladwy ef; gan fod yn barod i Wneuthur a Dioddef, i fod mewn clefyd a iechyd, i fyw a marw, ar yr amſer, ac yn y modd y mynno ef. Bid ei ewyllys ben-

bendigedic ef. *Amen*, *Amen*.

Yr wyf fi yn gorchymmyn fy enaid, a'r cwbl ac sydd ohonof i gyfrwng Mair forwyn ogoneddus, fy Mam ddaionus i a'm Canllaw: ac i gyfrwng Sanct *Joseph*, ac i gyfrwng fy *Angel* Ceidwad, a holl Sainct y Nef, gan ddymuno arnynt yn ostyngeiddlon fy helpu i ar awr fy angeu.

Yn eiriau diweddaf i mi, a gostyngeiddrwydd cyflawn gyd'ag edifeirwch calon, yr wyf fi yn llafaru *Iesus*, *Maria*, gan ddymuno marw yn eu breichiau bendigedic hwynt. A phan nas gallo fy nhafod lafaru yr Enwau sancteiddlawn hyn, yr wyf fi yn dymuno gwneuthur hynny a'm calon.

Os fy synwyr a'm calon a fethant y pryd hynny, yr wyf fi yn eu llafaru hwynt ynawr tros y pryd hynny, a holl serch possibl a gostyngeiddrwydd calon. *IESUS*, *MARIA*.

*FINIS*.



# Cynnhwysiad y Llyfr.



Y

FINIS.



ER maint y fu gofal a dyfalwch y Golygwr astud yn ceisio diwy-gio y beiau aneirif yr oedd y Printiwr dieithr yn eu gwneuthur (o gan ei anwybodaeth o'r Jaith) ym-mhob dalen o'r gwaith ymma; etto e a ddiengodd llawer ohonynt ei olwg ef. Amhynny yr wyf yn dy-muno arnat, y Cymro Mwynlan, yn arfer y Llyfr gan gymmeryd pin c inc emendio, o'r hyn lleiaf, y hai ymma yn canlyn.

# ERRATA.

PAgin 3. Lîn 1. Ymdddwyn *darllain* Ymddwyn. p.4.l.3.cyntaf *darll.* cyn-af. p. 8. l. 16. iude *darll.* inde. p. 9. 6. yn ddaear *darll.* yn y ddaear. p. 12. 15. saul *darll.* sawl. *Ibid.* 17. Diodef *darll.* Dioddef. p. 15. l. 14. anguenrhei-

X diol.

diol. p. 17. l. 1. Gweithredeedd *darlla*
gweithredoedd. p. 19. l. 13. enaid *darll*
henaid. p. 21. l. 9. hi *darll*. ef. *ide*
l. 10 p. 22. l. 1. gwiſeo *darll*. gwiſco. p
23. l. 21. rhaiwedd *darll*. rhinwedd. i
ic. ymddi *darll*. hymdd ffynno. p. 25.
9. rhuddhau *darll*. rhyddhau. p. 28. l.
O. chm *darll*. orchymmynion. p. 30. l
13. enaid *darll*. henaid. p. 31. l. 2.
*darll*. di. *ibid*. 17. ngwaig *darll*. ngwraig
p. 34. l. 6. marwoaeth *darll*. marwolaeth
p. 38. l. 3. yſgeini *darll*. hyſgeini. p
47. l. 13. amed *darll*. amen. p. 48. l. 1
weluy *darll*. weſy. p. 49. l. 3 uc ac *darll*
ac y. *ib*. 7. adeudydd *darll*. adeunydd. *ib*
14. attoti *darll*. attat ti. p. 51. l. 11. dy
wedd *darll*. dyweded. p. 57. l. 15. yſpll
*d*. yſpyllu. p. 59. l. anguenth *d*. angenrh
p. 6 . l. 18. drawſymater *d*. drawſymarfer
p. 61. l. 8. ddarfonod *d*. ddanſonodd. p
63. l. 25 ſwynwy *d*. ſwynwyr. p. 65. l. 9
wybo ol *d*. wybodol. p. 66. l. 11. ynew
*d*. ynawr. *ib*. rinwedd *d*. rinwedd. p. 68
l. 18 madduant *d*. maddeuant. p. 69. l. 14
a wael *d*. o wael. p. 70. l. 14 oddiwruth
*d*. oddiwrth p. 72. l. 2. gyffellu *d*. gyffeſlu
*ib*. 18. oc *d*. ac. p. 77. l. 4. bod *d* bob. p
83. l. 12. dwwiol *d*. duwiol. p. 86. l. 8
Orchym *d*. Gorchymmyn. p. 87. l. 13
bwryas *d*. bwrpas. p. 93. l. 5. weddyliau *d*.
meddyliau. *ib*. 10. dymnodd *d*. dymunodd
*ib*. 12. gymmel *d*. gymell. p. 98. l. 2. yob
*d*.

pob. p. 103 l. 5, mawr *d.* fawr. p. 105
10. wir fod *d.* wir fodd. p. 108. l, 5. ped-
od *d.* pechod. p. 110. l. 23. diodef *d* dio-
def. p. 111 l. 4 clefefydon *d.* clefydon. p.
13 l. 6 rhefwn *d.* rhefwm. p. 114 l. 17
aon *d* Farn. p. 115 l. 21 profeffu *d.* pro-
ffu. p. 11 l. 25 Anffyddloniaiaid *d.* An-
yddloniaid. p. 119 l. 15 eihun *d.* eichun.
. 2. hynny *d.* hynny. p. 1 6 l. 19 *dilea*
n. p. 1 9 l. 12 addroddion *d.* adroddi-
n, p. 130 l. 2; yn *d.* yn y. p. 134 l. 15
*d.* ac. p. 135 l. 14 *d.* Chriftianogion. *ib.*
i gyforwydde *d.* gyfarwyddo. p. 137 l.
o annuywiold *d.* annuwiold. p. 138 l 12
od *d.* bob. p. 139 l. 14 adrodiad *d.* adro-
ddiad. p. 140 l. 1 gobethio *d.* gobeithio.
*b.* 23 bod *d* bob. p. 141 l. 6 glowg *d.*
golwg. *ib.* 6 Celwydau *d.* Celwyddau. *ib.*
o daifu *d*, ddarfu. p. 143 l 9 Cad. *d.*
Cadwedigaeth p 145 l. 10 Dduw *d.* Duw.
p. 14 l, 9 ympiyddio *d* ymp ydio. p. 149
l. 13 tuag blant *d* tuag at blant. *ib.* 5
ydd-ddid *d.* rydd did. *ib.* 9 wafanaithu
*d.* wafanaethu. *ib.* 25 lawr *d.* lawer. p.
150 l. 11 dippio *d.* gippio. *ib.* 23 dywed-
wick *d* dywedwch. p. 152 l. 26 Agusftin
*d* Auguftin. p. 156 l. 22 fodlcd *d,* fodlon.
*ib.* 26 er hen *d.* yr hen. p. 157 l. 26
ffwddyn *d.* flwyddyn. p. 160 l. 25 edife-
wch *d.* edifeirwch p. 163 l. 6 llyr *d.* llwyr.
*ib.* 12 *dele* yn p. 164 l, 8 *dele* neu. p.
165 l. 17 mod *d.* modd. p. 169 l. 4 Peco-

X 2 dau

dau *d.* Pechodau. p: 172 l. 14 dyhuun *d.* dyhrn. p. 184 l. 14 gobeinthio *d.* g beithio. p. 189 l. 13 bod *d.* bob. p. 9 l. 17 hibara *d.* hirbara. p. 192 l. 3 weddi *d.* wedi. p 195 l. 8 awyddccau *d.* arwyddoccau. *ib.* 26 chariad *d* cariad. p. 199 l. 26 chunain *d.* cuhunain. p. 209 l. 25 anghen *d.* angenrh. p. 216 l. 3 muyaf *d.* mwyaf. *Ib.* 6 digwynd *d.* d gwydd. p. 219 l 20 ieungtid *d.* ieuengtid. p. 223 l. 14 fificabis *d.* fififficabis. p. 227 l. 18 Filij *d.* Ffili.

Pagin. 228. *scrifenna yn ymyl y pagin neu'r tu dalen ymma y geiriau hyn i'w darllain arol y gair diweddaf o'r lin gyntaf*: trugarha wrthym. Ti yr hwn wyt yn dwyn ymmaith bechodau'r byd *gan ddodi nod i'w bod hwynt i'w darllain arol y gair* byd *yn y lin honno.*

Pag. 229 l. 1 dioddegarwch. *d.* dioddefgarwch. p. 230 l. 15 Benduhwn *d.* Bendithiwn. p. 233 l. 22 o llewyrch *d.* o lewyrch. p. 237 l. 6 es dderbyn *d.* ei dderbyn. p. 241 l. 17 attot *d.* attat. p. 248 l. 5 brynnaeth *d.* brynniaeth. *ib.* 24 attot *d.* attat. p. 253 l. 12 *dele* y. p. 267 l. 3 iechawd *d.* iachawd. p. 275 l. 5 attot *d.* attat. p. 283 l. 6 attot *d.* attat. p. 289 l. 11 AYglwydd *d.* Arglwydd. p. 305 l. 19 Cably *d.* Cablyd. p. 309 l. 1 ddarpariſt *d.* ddarperaiſt. p. 318 l. 8 y rhagori *d.* yn rhag. *ib.* 11 *dele* diſ- p. 335 l. 5 eneiadiau *d.* eneidiau p. 337 l. 5 yr Yſ- *d.* yr vn Yſ-

P. 344

p. 340 l. 2 ddarparaiſt *d.* ddarperaiſt. p. 37 l. 15 pachu *d.* parchu p. 3 0 l. 18 dywaltaiſt *d.* dyweltaiſt. *ib.* 20 adawaiſt *d.* adewaiſt. p. 4 1 l. 17 vnicenedledic *d.* vnigened. p. 413 l. 8 *yn yr ymyl.* Priadd *d.* Praidd. p. 423 l. 3 fyddyn *d*, fyddin. p. 385 l. 11 gadawaiſt *d*, gadewaiſt. p. 485 l. 15 i'r *d.* îr. *ib.* 19 îr *d.* i'r. p. 468 l. 26 mylwyr *n*, milwyr. p. 476 Ya *d.* Yr.

Heblaw y rhain, mae llawer o lythyrennau wedi eu goſod yn amryw ſannau y naill yn lle y llall, megis *f* ac *ſ*. *n* ac *u*, *t* ac *r*, &c. y rhai a eill y Darllennydd hawddgar wrth ddarllain eu diwygio.

*Y Colect sydd i'w ddywedyd ar Ddy'gwyl S.* Luc *Evangelwr a ollyngwyd allan yn y lle priodol, sef* 18. *fis Hydref.*

CYfrynged trosom ni attolygwn arnat O Arglwydd, dy Evangelwr S. *Luc*: yr hwn er mwyn anrhydeddu dy Enw di, oedd yn dwyn marwolaethiad y Groes yn wastadol yn ei gorph. Trwy ein Harglwydd Jesu Christ dy Fab di: yr hwn sy'n byw ac yn teyrnasu yn vndod yr Yspryd Glan Duw: tros holl oesoedd oesoedd, *Amen.*



# Taflan o ymbell eiriau a arferwyd ymma, y rhai nid ydynt nemmor ſathredic yn rhyw fannau o Gymru, gyda'i hyſtyr mewn geiriau mwy cyffredin.

A Chlyſur } *yw arfod neu occaſiwn.*
Adeg. }
Ammeu. *Dowtu, petruſſo.*
Ammharu. *Methu, mynd yn waeth.*
Amnaid. *Bec a'r llygad neu'r pen.*
Anllad. *Cnawdol, godinebus.*
Annylys. *Ancerten, heb fod yn ſiccr.*
Anturio. *Hyderu, fentrio.*
Ardal. *Gwlad Provins.*
Aſgen. *Briw, clwyf, niweid, archoll.*
Braw. *Ofn, dychryn, &c.*
Bôd yn gnawd. *Bod yn arferedig ac yn naturiol.*
Brwydr. *Ymladd, cad, trin, trafod.*
Budd. *Lles, ced, proffit.*
Buddugoliaeth. *Victori, gorfodaeth.*

Canllaw. *Adovcat.*
Caredd. *Creim, bai mawr.*
Cethru. *Hoelio.*
Coelio. *Credu.*
Crybwyll. *Gwneuthur son.*
Cyfanneddu. *Trigo, preswylio.*
Cyfansoddi. *Composio.*
Cyfeddach. *Gwledd, Sir dda. Gwleddu.*
Cyfeirio. *Mynd yn vnion tuac at, &c.*
Cyflafan. *Creim, bai mawr, caredd.*
Cyffredin-Rwysg. *Republic.*
Cymmodloni. *Cyttuno, mynd yn ffrinds*
Cynhyrfu. *Cythryblu, cythruddo.*
Cynllwyn. *Twyll. Sieis neu sieg.*
Cynnyddu. *Chwanegu, mynd well well.*
Cyweirio. *Ail wneuthur, repairio.*
Damwain. *Happio, digwydd, ffortuno.*
Deilliaw. *Llifo allan, mynd ymaes o.*
Doel. *Vn a fwriwyd ymaes o'i wlad, Alltud, Allwlad, Dieithrydd.*
Deongl. *Esponi, datgan.*
Dichell. *Twyll cynllwyn, cyfragod.*
Diddymmu. *Gwneuthur yn ddim.*
Difangolli. *Colli o'r fan, difannu.*
Digwydd. *Happio damwain, ffortuno.*
Dihenyddu. *Lladd gwneuthur i vn farw.*

Dihir,

Dihir. Dihiryn. *Dyn drwg cas.*
Diosg. *Diwisgo, tynnu dillad.*
Dirmyg. *Ammharch, contempt.*
Dirwest. *Ymprydd ymgadw heb fwyd.*
Dir yw. *Mae'n rhaid.*
Diwyd. *Gofalus ac yn cymmeryd poen.*
Dull. *Fform, gwedd modd.*
Dwys. *Pwyllog, grav a synhwyrol.*
Dynwared. *Dilyn, imitatu.*
Eigion. *Annwfn, anoddyn, abyss.*
Egnio. *Ymorchestu, streivio.*
Edfryd. *Ail-wneuthur, restorio.*
Eiriol. *Gweddio, ymbil, dymuno.*
Enllibio. *Sarhau, ammharchu, calwm-nio.*
Erlyn. *Persecutiwn.*
Ffau. *Pwll, neu dwll dyfn yn y ddaear neu glawdd, ogof.*
Ffo. *Rhedeg ymmaith rhag un.*
Ffuant. *Ffug, rhagrith.*
Goresgyn. *Gorchfygu.*
Gorfod, Gorfodaeth. *Buddugoliaeth neu Victori.*
Goror. *Y wlad uchaf, y blaenau.*
Gorhydri. *Rhyfyg, insolens.*
Gormes. *Oppressiwn.*

Grillian. *Lleisio fel coed-glas yn llosgi.*
Grîs. *Stair, vn gradd o'r staerau.*
Grygnach. Gryngian. *Mwttrio.*
Gwahanu. *Neilltuo, separatu.*
Gwaith godden. *Gwneuthur peth o waith godden, yw gwneuthur peth o bwrpas, o wir fodd, &c.*
Gwaradwyd. *Conffusiwn cywilydd.*
Gwyro. *Troi peth ymaes o'i le, pervertu.*
Gwyrth. *Rhyfedd, miracl.*
Gwrthnysig. *Cyndyn, pervers.*
Gwthddywedyd, gwrthsefyll, gwrthwyneb, &c. *yw dywedyd yn erbyn, sefyll yn erbyn, wynebu yn erbyn, &c.*
Gwynnian. *Y pethau y fo'n dda, yn hoff, yn ddifyr, &c. gan vn.*
Gwyd. *Bai, veis, pechod.*
Haeru. *Affirmo.*
Haint. *Clefyd, infectiwn.*
Hoedl. *Bywyd, einioes.*
Honni. *Cyhoeddi.*
Hudo. *Twyllo.*
Hyder. *Eondra, conffidens, rhyfyg.*
Hulio. *Tanu megis lliain ar fordd, llen ar wely, &c.*

Lla-

Llabyddio. *Lladd a cherrig llaw.*
Llafasu. *Beiddio ventrio.*
Llaryaidd. *Mwyn, tirion, clement.*
Lleithio. *Gwlybhau mynd yn wlyb.*
Llengau. *Lluoedd o amgylch 6 mil eu rhifedi, Legionau.*
Llêg. *Gwan iawn, methiant.*
Llestair. *Rhwystro, lluddias, rhagod.*
Llithio. *Enteisio, denu.*
Llonder, llonni. *Llawenydd, llawenhau.*
Lludded. *Diogi, blinedd.*
Lluddias. *Rhwystro. llestair, rhagod.*
Lluniaeth. *Bwyd, cynheiliaeth, ymborth.*
Llyfrdra. *Gwangalondra, cowardiaeth.*
Llysu. *Gwrthod.*
Mabwysiad. *Adoptiwn.*
Manson. *Murmuro.*
Math. *Tebyg.*
Mewyd. *Diogi.*
Musgrell. *Gwan, llesg, dinerth.*
Mynegi. *Adrodd, dywedyd.*
Nawdd. Nodded, Noddle, Noddfa. *Amddiffyn, protectiwn, maddeuant.*
Pan. *Ffwrr, blew man.*
Perwyl. *Gwaith, effect.*

Petru-

Petrus, Petrusso. *Dowt, dowtio.*
Rhagddarbod, Rhaglunıaeth. *Rhagweled, providens, rhagddarpar, &c.*
Rhaglaw. *Rheolwr, president.*
Rhagod. *Rhwystr, rhwystro, llestair.*
Rhuso. *Cilio ynol, ymaros.*
Rhieni. *Tad a Mam.*
Rhuthro. *Rhedeg at, neu gwympo ar ryw beth yn fforddrych neu yn viollent.*
Rhodres. *Pomp.*
Rhwysg. *Gallu ac awdurdod, rheollaeth, pomp.*
Sarhaad. *Contumeli, ammharch.*
Siommi. *Twyllo.*
Syrthio. *Cwympo.*
Syllu. *Edrych yn daer, gazu.*
Talaith. *Provins, gwlad, ardal.*
Tangnefedd. *Heddwch.*
Trabludd. *Ymladd, cynnwrf, trallod.*
Truth. *Gweniaith, ffatriaith.*
Tyccio. *Ffynnu, llwyddo, rhwyddhau.*
Ymbil. *Dymuno yn ostyngeiddlon, gweddio, deisyf, gofyn yn daer.*
Ymddiried. *Gobeithio yn, confeido.*
Ymddibynnu. *Crogi wrth ryw beth, dependu.*

Ym-

Ymgeleddu. *Cynnal, rhoi, a gwneuthur pob peth angenrheidiol i un megis y gwna tad a mam.*

Ymmunedd. *Diodde∫garwch.*

Ymogor. *Trig∫a, pre∫wylfod.*

Ynni. *Vigor, calondid.*

Yſtlen. *Sex, y rhyw gwryw neu'r fenyw.*

Yſcrubl. *Anifail-gwaith.*

Yſglwyf, Yſglyfaeth. *Yſpail, praidd plyndriad.*

---

Y.

# Y Cymro Mwynlan.

YR oedd yn y mryd i, mewn rhai o'r dalennau hepcor hyn, dangos i ti y rhesymmau a wnaeth i mi scrifennu peth o'r Lladin sydd ymma, a rhai o'r characterau priodol i'r Jaith Gymraec: eithr oblegid y geill y llyfr hwn (ond antur) syrthio hefyd i dwylo rhai o'r Saeson, mi a dybias yn well, eu dangos hwynt yn Saesnec, er mwyn peri cywilydd ar y Saeson, a thrwy hynny, eu gyrru hwynt i ddyscu llafaru Lladin yn iawn gan y Cymro. Dymma ganhynny y rhai pennaf.

The *Welsh* would pronounce *Latin* very true, if they would alwayes pronounce the first four Latin Vowels as they do the same in their own Language, and the Latin vowel *u* as they do the vowel *w* in *Welsh* with the Consonant *j* (in the pronunciation

ciation of the other Consonants neither they nor the *English* do much err) as they do it in their own Language. This if the *Welsh* would do, without doubt they would pronounce Latin as true, or more true than any other Nation. Whereas now they pronounce it very ill, because they imitate the *English*, who pronounce Latine extreme falsly: by reason that they commonly give the same pronunciation to the Vowels in Latine, as they give to them in *English*, which is so various and confused, that it is impossible to give a Stranger a Regular Direction to pronounce *English* Vowels aright. Because, for example, the *English* pronounce the Vowel

*The Welsh Vowels are put over the English to shew the distinction of their pronunciation.*

A. three wayes, as { o a y
in these words: { Call, Can, Sugar.

E. four ways, { e i y uw
as in { The, Be, Her, Blew.

I.

| | |
|---|---|
| *I.* four ways, as in | yi u y i<br>Bind, This, Birds, Wing. |
| *O.* four ways, as in | o w y ow<br>For, To, Prove, Old.<br>uw u y |
| *V.* five ways, as in | Pure, Business, Must,<br>e w<br>Burie, Chuse. |
| *Au.* two ways as in | aw o<br>Author, Cause. |
| *Oo.* two ways as in | w y<br>Good, Blood. |
| *Ou.* four wayes, as in | o ow y<br>Though, Soul, Touch,<br>w<br>Court. |

And 'tis ridiculous to hear Children and others taught to read, when the Teacher sayth *B, e,* bi. *T, o,* tu. *&c.*

Neither can there be any Rule given to know, how every Vowel and Dipthongue ought to be pronounced in each *English* word, but by ranging every word in the Dictionary,

onary into ſeveral Catalogues.

The reaſon of this ſtrange Miſce-lanie and Confuſion is, becauſe there be as many Simple Vocal Sounds in the *Engliſh* as there be in the *Welſh* Language, *viz.* ſeven. That is, beſides the five ordinary Latine vocal and ſimple ſounds, there be two more: which the *Welſh* for diſtinction ſake expreſſe with theſe Characters, *u*, and y. But the *Engliſh* aſſigning no diſtinct Character for ſo diſtinct ſounds (which nevertheleſs are moſt frequent in their Language) expreſs the former ſometimes with an *i*, as in the words *Bid, Fill, His,* &c. ſometimes with a *y*, as *Syllable, Symptome, Myſterie,* &c. And the other ſound (which the *Welſh* call their ſeventh Vowel, and the *French* their *e* feminine) the *Engliſh* expreſs with every one of the five uſual Vocal Characters, moreover with the Dipthongues *oo*, *ou*: as is apparent by the former examples, and hundreds more.

Now,

Now, you shall scarce find an *Englishman*, who ( though well learned and vertuous ) will be persuaded, that there is so distinct a Variety of Vocal sounds in the *English* Tongue, as is here describ d. And this is, because he never took notice thereof: so that like one who never learned to read until he be far in years, he hath great difficulty to apprehend these distinctions of Vocal sounds. And therefore he will stiffly maintain, that all the difference proceeds from the various conjunction of Consonants. Whereas there is no *Welshman* that can read *Welsh* knowingly, though his hearing be neuer so dull, who doth not clearly perceive the Distinction of these seven Vocal simple sounds, even abstracted from all Consonants.

The *English* then pronouncing in *Latine* the Vowel *a* like an *e*, the *e* like an *i*, the *i* like the Dipthongue *ei*, or rather the *Welsh* *yi*; the *o*

some-

ſometimes and the *u* alwayes before a poſition or a double Conſonant like the *Welſh* y, or the *French e* feminine, make ſuch ſtrange *Gibbridg* to the ears of Externes, that it often puts them to their wits end to imagin what an *Engliſh* man means, when he ſpeaks Latin. Inſomuch, that ſome have taken me aſide, ſeriouſly to ask me what Language the young *Engliſh* Traveller (my Companion) ſpoke to them, when he had ſpoken true Latine after the *Engliſh* Mode.

Others more acquainted with the *Engliſh* manner, will contentiouſly maintain, that the *Engliſh* do generally ſpeak through their teeth: this is becauſe of all the Vowells ſometimes, and the *u* ſo often pronounced by them like the *French e* feminine or the *Welſh* Vowel y: as *cyr, cym cyrno, cyltro, byxys, byſtym, ſynt, apyd, byrgym, &c.* inſtead of *Cur, cum, curno, cultro, buxus, buſtum, ſunt, apud, burgum, dum, &c.* Neither

ther *Italians*, *Germans*, *Græcians*, *Asians*, *Africans*. *Spaniards*, nor any other Nation, no nor the *French*, (though they have their peculiar way) pronounce *u* in Latine after this manner. And because I endeavoured to avoid this Error, and to utter the other Latine Vowels, as I do the same in *Welsh*, a certain Clergyman of eminent quality in a City where many Learned *English* have continually sojourned above eighty years, told me that he had not heard an *English* man pronounce Latine more distinctly than I did.

Yn ficcr pettasai'r sawl a brintiasant Gymraeg gyntaf, heb droi rhai o'r Characterau Lladin allan o'i llafar priodol (megis y gwneuthant yn ddigon diraid) i yspysu'r llafer Brithoneg: ond wedi gadael yr (*e*) i arwyddoccau y llafar tywyll, yr hwn yw ein seithfed Fogail ni, megis yr oedd ein Henafiaid ni gynt yn aifer, ac y mae'r Francod fyth yn gwneu-

gwneuthur; gan yspysu'r llall nen'r (*e*) wiyw a nod ar ei phen, megis mae atter yr vn Francod : a chan yspyssu ein pummed Fogail ni a'r (*ij*) neu mewn geiriau yn tarddu o'r Lladin a'r (*ü*) hon : fel y gallesid gadael yr (*u*) arferedig i arwyddo ein (*w*) fogail ni (megis y mae holl Natiwnau y Byd wrth lafaru Lladin ganmwyaf yn gwteuthur; a ninnau fyth yn dilyn yr Hen Saeson, y rhai a'n tywysasant ni i arwyddoccau llafar yr (*u*) a'r lythyren ( *w* ) fel y gwelwn wrth eu modd hwynt yn scrifennu gynt *wlstan*, *wlfer*, &c.) ac er dibennu, fel y gallesid gadael yr (*v*) hon i yspyssu ein (*f*) ni, gan fod y Saeson y rhai yr ydym ni yn ei dynwared yn hyn, wedi pedio, (oddieithr eu Clowoniaid hwynt, y rhai sy byth yn cadw'r arfer) a llafaru'r (*f*) megis (*v*) gonsonant : Pettasid (meddaf) wedi gwneuthur hyn, fe a fuassai'r scrifen Gymraeg yn harddach ac yn deccach nac y mae hi yrwôn o ran cynnifer (*f*)

a

ac (y) hirgynffonnig, ac ni fuaſſai Rheolau'r Grammadeg yn dim anhowſach: ond y Jaith yn llai rhyfeddol i Ddieithriaid, a'r Cymru eu hunain wrth hynny a wnaethid nid yn vnic yn aplach nac vn Natiwn arall, i wybod ac i ddyſcu llafaru Lladin yn gywir; ond heſyd i wybod yn well a dyſcu i eraill iawn lafar amryw Jeithydd eraill. Yr hyn Ragoriaeth oll a ddarfu i ni ei golli trwy ddynwared y Saeſon. Yn ddiau, mae i ni achos da am ddynwared y Saeſon ffyddlon yn eu rhinweddau duwiol o garu Duw yn fwy na'r Byd; yn eu gwaſtadrwydd anyſgog yn proffeſſu y wir ffydd Chriſtianogol, ynghanol pob cam, colledion ac ammharch: yn eu haelioni difeſur er mwyn Duw: yn eu goſtyngeiddrwydd yn maddeu i'w gelynion, a'i mwyneidd-dra yn eu caru hwynt, &c. yn y rhai y maent hwy yn rhagori ar holl Natiwnau y Byd: ond am eu dynwared hwynt yn mingammu Lladin, ac

wrth

wrth hynnny yn anrheithio llafar Jaith dda, nid oes i ni na rheſwm ñac achos.

---

FINIS.



---